# GRAMMADEG CYMREIG;

SEF,

## TRAETHAWD

AR

# EGWYDDORION YR IAITH.

HEFYD,

## Cyfarwyddiadau Priodol

ER CYNORTHWY

Y SAWL A CHWENNYCHONT YMGYRHAEDD AT EGLURDEB A THLYSNI YMADRODD.

GAN ISAAC JONES,

ATHRAW YSGOL RAMMADEGOL ABERYSTWYTH.

A pha beth, pa bleth rydd fwy blas—na gair
Am gywrain fawr urddas
Y deg iaith, fad, gyweithas,
I *ni* 'n gu—gan DIC yn gas?—DANIEL DDU.

ABERYSTWYTH:

ARGRAFFWYD AC AR WERTH GAN ESTHER WILLIAMS

*PRIS DAU SWLLT.*

1832.

[*Entered at Stationers' Hall.*]

# RHAGLITH.

Y MAE yn dra rhesymol i ni farnu, i'r Creawdwr gyfranu i ddyn yn Ngwynfa, nid yn unig lafar-beiriannau, neu alluoedd i draethu ei syniadau, ond hefyd iaith ac ymadrodd; fel yr oeddynt ein rhieni cyntaf yn gallael amlygu yn ddioed eu meddyliau i'w gilydd, ac i'r Arglwydd eu Gwneuthurwr, mewn ymadroddion addas, dealladwy. Yr oedd dyn, fel creadur cymdeithasol, wedi ei gynnysgaethu â phob cymhwysder i hyny, fel pob peth arall perthynol iddo; ac y mae yr holl hanes am dano, a draddodir gan y Deddfroddwr Iuddewig, yn caniatau yn amlwg le i ni feddwl hyny, er na chyfarfyddwn â gair yn hysbysu hyny yn neillduol. Mynegir yn amlwg, nad oedd ond un *iaith* yn y byd, hyd y cymysgedd yn Babel. Pa iaith ydoedd hono, y mae llawer o amrywiaeth barn: ond y mae hawl yr Hebraeg i'r blaenoriaeth cystal, os nad gwell, nag un, yn nhyb llawer. Ond mewn perthynas i nifer yr ieithoedd a darddasant o'r cwch dwyreiniol hwn, nis gellir cyrhaedd hollol sicrwydd. Gan fod rhifedi y penau cenedl yn Gen. x. yn 72, drwy gyfrif tri mab Noah, oddi yma, tebygol, y deilliodd y traddodiad mai 70 neu 72 oedd rhifedi ieithoedd gwreiddiol Babel. Y mae tystiolaethau ereill yn y Gair a ddangosant nad yw y traddodiad hwn wedi ei adeiladu ar dyb cwbl ddisail. Moses, wrth adgoffa dosparthiad y ddaear rhwng meibion Adda, sef teuluoedd Noah ar ol y dylif, a ddywed, yn Deut. xxxii. 8, *Pan gyfranodd y Goruchaf etifeddiaeth y cenedloedd, pan neillduodd efe feibion Adda, y gosododd efe derfynau y bobloedd yn ol* RHIFEDI MEIBION ISRAEL. Gwyddom yn ddilys mai 70 oedd rhifedi teulu Jacob, y rhai a ddaethant i'r Aipht; ac oddiwrth hyn casgla y traddodiad uchod ychwanegol nerth fyth. I ba nifer yr ymgangenodd y 72 uchod wedi hyny, nid oes dyn a wyr yn sicr. Gan mai felly y dygwyddodd, nid oes i'w wneuthur mwyach ond defnyddio y moddion llwyddiannus i dalfyru y llafur o'u dysgu, y rhai ydynt Rammadegau a Geirlyfrau.

Traethodau yn dwyn yr enw o Rammadegau Cymreig ydynt yn lled luosog. Dywed rhai hynafiaethwyr iddynt weled o ddeutu 30 o honynt, naill ai mewn llaw-ysgrifen neu yn argraffedig. Yn mhlith y blaenaf, yr un a deilynga grybwylliad neillduol a gyfansoddwyd tua diwedd y nawfed canrif, gan GERAINT FARDD GLAS, un o brif enwogion Cymru am ddysgeidiaeth a phob gwybodau; adolygwyd ef wedi

hyny gan EINION, yn nghanol y ddau a degfed canrif; a thrachefn gan EDEYRN, o ddeutu y flwyddyn 1260, ac yn y dull hwnw y trosglwyddwyd ef i ni; eithr yr oedd y llyfr gwreiddiol yn gadwedig yn Nghastell Rhaglan, cyn distrywio y lle hwnw yn rhyfeloedd gwaedlyd CROMWEL. Y nesaf mewn bri a gyfansoddwyd gan DAFYDD DDU o Hiraddug, o ddeutu 100 mlynedd wedi hyny. Y mae ereill i'w cael, yn gasgledig gan TUDUR ALED, GWILYM LLEYN, a SIMWNT FYCHAN, oll yn Feirdd o fawr enwogrwydd yn eu dydd a'u cenedlaeth. Y cyfryw Rammadegau ag a argraffwyd, a gyfansoddwyd gan y gwyr canlynol: 1. Eiddo GRUFFYDD ROBERTS, argraffedig yn Milan, yn B. A. 1567. Yr oedd hwn yn dra buddiol a chywraint er gosod allan sylfaen y Gymraeg a'i pherthynasau, heb gyffwrdd ond ychydig â barddoniaeth. Am ei fod yntau hefyd yn aelod o Athrofa Sienna, gellir barnu ei fod ar delerau cyfeillgar â Dr. RHYS, yr hwn, yn ei gyflwyniad o'i waith i Syr EDWARD STRADLING, a'i cyfenwa ef yn wr o ddysg dra helaeth, ac yn athraw philosophyddiaeth. 2. Eiddo Dr. J. DAFYDD RHYS, yn Gymraeg a Lladin, yn 1592. Cynwys y Grammadeg hwn 304 o du dalenau, 41 o ba rai a dreulir i olrhain yr hyn a ellir eu galw priodoliaethau llythyregol yr iaith, 87 yn ychwaneg ar ei nodau cystrawenol mwyaf neillduol, a'r 176 gweddilliedig ydynt ar fydryddiaeth Gymreig. Er iddo gymeryd poen fawr i eglurhau rheolau barddoniaeth yn gyflawnach na neb o'i flaen, eto, am fod y rhan fwyaf o'i ymadroddion dysgedig yn yr iaith Ladin, bu hyny yn rhwystr i gyffrediniald annysgedig Cymru i dderbyn nemawr fuddioldeb oddi wrtho. 3. Eiddo GWILYM SALESBURY, cyfieithydd haeddbarch y Testament Newydd i'r Gymraeg, mewn cysylltiad â'r Esgob DAVIES, yn 1547. 4. Eiddo y pendefig celfyddgar hwnw, GWILYM GANOLDREF, *(William Middleton,)* o deulu Gwenynog, yn Swydd Dinbych, yn 1593. Yr oedd hwn yn dra chywraint, o'i faintioli, er hyfforddiad Prydyddion. 5. Eiddo y Brytwn digymhar y Dr. JOHN DAVIES, o Mallwyd, yn Meirion, yn Gymraeg a Lladin, yn 1621. Cyfansoddwyd hwn yn fwy penodol er gosod allan briodolderau gwreiddiol yr iaith, heb sylwi ond ychydig ar farddoniaeth, oddigerth enghreifftiau cynghaneddol i gadarnhau teilyngdod yr iaith. 6. Eiddo y Parch. WILIAM GAMBOLD, Periglor Puncheston, yn Swydd Penfro, a osodwyd allan yn Seisonaeg a Chymraeg, yn 1727, er egluro yn bendant gynneddfau, sylfaeni, a godidogrwydd y Frythonaeg i'r Seison, ac ereill ddysgawdwyr a Pheriglorion ieuainc ag oeddynt anfedrus a thrwsgl yn eu hiaith gynhenid. 7. Eiddo SION RHYDDERCH, yn y flwyddyn ganlynol. Treuliodd efe y rhan olaf o'i oes fel Argraffydd, yn Amwythig, lle y cyhoeddodd ei Rammadeg, a hefyd Geirlyfr Cymreig a Seisonig bychan. 8. Eiddo y Parch. THOMAS RICHARDS, o Langrallo, yn Morganwg, yn 1753. Cyfieithiad i'r Seisonaeg ydyw hwn, gan mwyaf, o Rammadeg Lladin

y Dr. J. DAVIES, o Mallwyd. 9. Eiddo G. OWAIN PUGHE, LL. D., blaenddodedig i'w Eirlyfr, yr hwn a gyhoeddwyd yn 1803. 10. Eiddo ROBERT DAVIES, Eiliedydd rhagorgamp Nantglyn, yn Gymraeg oll. Yr argraffiad diweddaf o hwn a fu yn 1826.

Er yr holl Rammadegau athrawiaethol a grybwyllwyd uchod, eto, o blegyd eu pris, neu y dafodiaith yn mha un eu cyfansoddwyd, nid oes un o honynt mor wasanaethgar i werin uniaith Cymru ag y dymunid eu bod, canys prif amcan y rhan fwyaf o'u hawdwyr ydoedd dangos i genedloedd estronol odidogrwydd a chyflawnder y Frythonaeg. Gan hyny, ar ddymuniad rhai ewyllyswyr da i'r iaith, cymerais y gorchwyl llafurus mewn llaw i gasglu o'u hysgrifeniadau gorchestol y pethau a dybiwn yn fwyaf buddiol at wasanaeth fy nghydwladwyr, er eu hyfforddiad a'u llwybreiddiaeth yn mhrif ffyrdd rhai o'u hynafiaid ardderchog gynt. Eithr, o herwydd y cyfnewidiadau a wnaed yn fynych yn y syniadau a'r iaith, er ychwanegol gysondeb, ac er eu cyfaddasu at y dybenion neillduol er mwyn pa rai yr arweiniwyd hwynt i mewn, ac, ar lawer o achlysuron, o blegyd yr annilysrwydd i bwy y perthynent yr ymadroddion yn ddechreuol, anaml y gallwyd dodi enwau yr awdwyr wrth eu cyfansoddiadau: a phe gallesid gwneud hyn yn gyffredin, ni ddeilliai unrhyw fuddioldeb i waith o'r natur hon oddi wrtho, cyfatebol i'r annghyfleusdra o grugio y tu dalenau âg ailadroddion o enwau a chyfeiriadau.

Yr wyf yn y Traethawd canlynol wedi egluro ac amddiffyn yr hyn a elwir y *trefniant newydd* o silliadu y Gymraeg, am ei fod, i'm tyb i, yn gwbl gyfatebol â phrif ansoddau a gofynion anhebgor yr iaith. Anhawdd, y mae yn debyg, a fyddai cyfarfod â chynnyrch o'r fath ddistadleddau diansawdd ac anfuddiol, y fath gymhwylliadau mabanaidd ac anhybwyll, a'r fath hunaudybiau hyderus, ag a dywalltwyd allan yn y freithell ddiweddar, yn nghylch y trefniant, neu yn hytrach, yr *an*nhrefniant cyntefig, o grefadurau Beirdd ac Athrawon tra dysgedig, ar lawer o gyfrifon: ond pan fydd culni rhagfarnllyd at ryw wrthddrych yn gorseddu yn meddyliau dynion, ofer yw dywedyd wrth y cyfryw am *gywirdeb* ac addasrwydd y peth ynddo ei hun. Gwyr pawb mai nwyd anhawdd i ymddiosg o honi ydyw rhagfarn.

Er fy mod wedi adganmawl a mabwysiadu y trefniant newydd, eto, pan yn dyfynu darnau cyfain o waith awduron ereill, glynais yn lled ddlesgeulus, os nid hyd eithaf ffyddlondeb, â chydwybod ddiduedd, wrth lythyraeth, geiriadaeth, a dull yr ymadroddion, fel ag a'u cefais yn eu llyfrau, heb newid, gan belled ag yr wyf yn cofio, cymaint a llythyren, na geiryn yn nghystrawen yr ymadrodd. Fy marn i yw y dylid, wrth fenthycio gwaith ereill, pa un bynag ai yn argraffedig neu ysgrifenedig y byddo, ymgadw yn ddiwrthgil wrth ddull y llythyraeth ag oedd fwyaf ymdaenol yn oes yr ysgrifenyddion.

Gair yn rhagor am *Goelbren y Beirdd.* Dull onglog y llythyrenau Barddawl hyn a ddeillia o anghenrheidrwydd oddiwrth eu bod yn cael eu tori ar goed â chyllell gyffredin, ac ar ba rai y byddai yn anhawdd, a bron yn analluadwy, i'w tori yn gylchaidd : o'r tu arall, âg ysgrifell, pwyntel, neu'yr hen ysgrifbin, *(stylus,)* ffurfir hwynt yn gylchaidd gyda llawer mwy o rwyddineb. Yr hen nodau Etruscaidd ydynt, oddigerth un neu ddwy o lythyrenau, yn hollol gyfunddull â Choelbren y Beirdd. Yr Etrusciaid oeddynt breswylwyr hynaf yr Eidal, yn un o'r llwythau Celtaidd, a'u nodau hwy oeddynt y rhai a adwaenwyd gyntaf gan y Rhufeiniaid. Y mae yn beth tra hynod fod y nodau hyny wedi myned mor hen ac annghynefin yn yr amser y rhuthrodd y Rhufeiniaid gyntaf i mewn i Ynys Prydain, fel y dywed un o'r ysgrifenwyr Rhufeinig ei fod yn beth anhawdd cael gwr yn Rhufain a fedrai ddarllain y creifftiau ar wyddfäau teulu Scipio, ac ni chaid neb a fedrai ddarllain y creifftiau Etruscaidd hynaf. Wrth ystyried y pethau hyn, rhaid i ni gasglu nad arweiniwyd y nodau hyn i mewn i Brydain gan y Rhufeiniaid, nodau, pa rai, pan dorasant ar ein traws ni, oeddynt yr un wedd ag yn bresennol. Un ysgrifenydd Lladinaidd, wrth roddi hanes am y math hwnw o fwrdd ag a alwai y Rhufeiniaid *Sigma*, pa un oedd ar ddull hanner lleuad, a ddywed, y deillia ei enw oddiwrth ei fod yn gyffelyb i'r llythyren Roegaidd o'r enw hwnw, eithr nid y *Sigma* bresennol yn sicr, ond y *Sigma* Roegaidd (C) ; ac yno cymer achlysur i sylwi fod yr hen nodau Groegaidd yn cael eu ffurfio yn yr un dull a'r rhai hyny a arferid yn y *cynoesoedd* yn yr Eidal. Onid yw yn ymddangos yn debygol oddiwrth hyn, mai yr un oeddynt y llythyrenau Groegaidd y dywed Caisar eu bod yn arferedig gan y Derwyddon, ag eiddo yr hen Etrusciaid, y rhai ydynt hefyd gyfunddull â Choelbren y Beirdd ? Ni ddylid byth fod yn rhy bendant mewn dychymygion o'r natur hon ; ond y mae yn dra sicr nad ydynt y llythyrenau Groegaidd diweddar yn cyfateb i eiddo yr hynafiaid.

Oni buasai diffyg lle, dywedasid ychwaneg am y nodau hyn, ac hefyd rhoddasid darlun o *Beithynen*, neu hen lyfr Barddawl, yr hyn, dianmheu, a weinyddasai ryw ddifyrwch i'r ambell un ag y mae rhai defnynau o waed ei gyndadau clodwiw yn ergydio drwy ei redweliau. Nid oes genyf yn awr ond cymeryd fy nghenad, gyd ag addewid anamwys o fod, ar bob adeg, yn barod ac ewyllysgar i wasanaethu fy nghyd-genedl yn mhob anoferwaith.

ISAAC JONES.

Aberystwyth, }
*Hyddfref* 15, 1832. }

# CYNWYSIAD.

RHAN I.—AM LYTHYREG.



RHAN II.—AM ACENYDDIAETH.



RHAN III.—AM EIRYDDIAETH.



RHAN IV.—AM GYSTRAWEN.

YCHWANEGIADAU.



---

## EGLURHAD AR EIRIAU DYEITHR YN Y GWAITH HWN.

*Acenyddiaeth*, prosody
*Arddodiad*, preposition
*Awgrym*, figure
*Bannod*, article
*Cyfraniad*, participle
*Cyfrediad*, gerund
*Cyfryngiad*, interjection
*Cystrawen*, syntax
*Cysylltiad*, conjunction
*Deuseiniaid*, diphthongs
*Disgynsain*, cadence
*Dyleddfiad*, supine
*Enw cadarn*, substantive
*Enw gwan*, adjective
*Geiryddiaeth*, etymology
*Gorair*, adverb
*Gorphwysiadau*, pauses
*Gwahannodiad*, punctuation
*Lleisbwys*, emphasis
*Llythyreg*, orthography
*Modd ammodol*, subjunctive mood
*Modd annherfynol*, infinitive mood
*Modd eiddunedigol*, optative mood
*Modd galluedigol*, potential mood
*Modd gorchymynol*, imperative mood
*Modd mynegol*, indicative mood
*Parwyddiad*, verb
*Rhagenw*, pronoun
*Silliadaeth*, spelling
*Triseiniaid*, triphthongs.

## GWALLAU.

| TU DAL. | LLINELL. | YN LLE | DARLLAIN |
|---|---|---|---|
| 10 | 22 | *mae* .... .... | *mai* |
| 11 | 19 | *gyff-* .... .... | *gy-* |
| 12 | 8 | *g ng* .... .... | *g - ng* |
| — | 13 | *Gym-* .. .... | *Gy-* |
| 13 | 26 | *ocr* .... .... | *ocyr* |
| 18 | 23 | *Deaudir* .... | *Deheudir* |
| — | — | *Gog-* .. .... | *Go-* |
| 23 | 11 | *chwildroadau* .... | *chwyldroadau* |
| 27 | 24 | *ach — cyfeillach* | *iach — cyfeilliach* |
| 30 | 8 | *angen* .. .... | *anghen* |
| 31 | 29 | *ymddi-* .. .... | *ymddib-* |
| 43 | 28 | *Adran 3.* .... | *Adran 4.* |
| 128 | 1 | *Pennod II.* .... | *Pennod III.* |

# GRAMMADEG.

GRAMMADEG CYMREIG yw y gelfyddyd o lefaru ac ysgrifenu y 'Gymraeg yn y modd mwyaf priodol, eglur, a dealladwy.

Dosperthir ef yn bedair rhan; sef, LLYTHYREG, ACENYDDIAETH, GEIRYDDIAETH, a CHYSTRAWEN.

## RHAN I.

### PENNOD I.—AM LYTHYREG.

#### ADRAN 1.—*Am ansawdd Egwyddor gyflawn.*

Llythyreg sydd yn dysgu pa fodd i adnabod defnydd a sain y llythyrenau, a'r dull cymhwys i silliadu geiriau.

Llythyrenau ydynt arwyddion llefariad iaith, drwy ei dangos yn hywel mewn ysgrifen neu argraff.

Y mae llythyrenau gwreiddiol, neu gysefin; ac y mae llythyrenau tarddedig, neu hanedig.

Rhifedi y llythyrenau cysefin yw un-ar-bymtheg; a mwy na hyny, o barth anian, ni ddichon fod mewn iaith; sef, pedair o lafariaid, a deuddeg o gydseiniaid.

Deuddeg llythyren gysefin sydd o anian gyfnewidiol, wrth angen ymadroddion; sef, tair o lafariaid, a naw o gydseiniaid.

Yr hanedigion ydynt saith-ar-ugain o rifedi; ac wyth o honynt sy lafariaid godidog, heb y deg o dreigliadau; a phedair-ar-bymtheg o gydseiniaid.

Anian y llythyrenau hanedig yw, eu bod yn arwyddo y cyfnewidiadau a berthynant i sain y cysefiniaid newidiol, mewn damweiniau ymadrodd.

Llyma egwyddor y llythyrenau cysefin yn canlyn, yn ol eu perthynas:

*a e i o b m p f c g t d n l r s.*

Ac ar y cyntaf nid arferid ond y rhai hyn gan y Cymry i ysgrifenu eu hiaith; ac y mae llawer o ysgrifl-lyfrau yn ol y dull hwn, oddeithr ychydig amrywiaethau, yn gadwedig hyd heddyw. Ond dylid bod yn hyddysg iawn yn yr iaith er gallu ei darllain fel hyn yn hylithr, heb gyfarwyddyd i ddangos cyfnewidiadau y llythyrenau, oddieithr o ddeall ystyr yr ymadrodd yn unig. Er dileu y rhwystrau hyn y lluniwyd arwyddion y tri chyfnewidiad sain, sef yr ysgafn, y chwyrn, a'r meddal, gan y Beirdd, yr hyn oedd dechreuad ac achos y llythyrenau hanedig, neu yr adlawiaid.

Yr hen ddull o ysgrifenu oedd tôri y llythyrenau â chyllell ar wŷdd, neu brenau pedryfan; ac fel hyn byddai pedwar ban, neu bennill, ar bob pren; a rhwymid y prenau yn nghyd yn beithynen, neu gywŷdd: a thebyg mai dyma y dull cyntaf yn y byd, gan fod crybwylliad yn yr Ysgrythyr am y fath ysgrifenu.

"Tithau fab dyn, cymer i ti un PREN, ac ysgrifena arno, I Juda, ac i feibion Israel ei gyfeillion: a chymer i ti BREN arall, ac ysgrifena arno, I Joseph PREN Ephraim, ac i holl dŷ Israel ei gyfeillion: a chydia hwynt y naill wrth y llall yn UN PREN i ti; fel y byddont yn UN yn dy law di."—EZECIEL XXXVII. 16, 17.

Cydnabyddiaeth âg egwyddor yr hen lythyrenau hyny a elwir *Coelbren y Beirdd*, sy gyfarwyddyd gwiw i chwilio dirgelion ein hiaith; a chan ei bod wedi llithro yn agos ar encil, dylid ei chadw yma, fel y delo eto ar gof gwlad. Llun a threfn yr egwyddor hòno a ganlyn:

## Coelbren y Beirdd.



a b c ch d dd e f ff g ng h i l ll m



n o p ph r s t th u w y



à e ô û ŵ ngh nh mh hw rh

---

O herwydd nad ystyriwyd y cyfleusdra wrth ddechreu argraffu llyfrau Cymreig, yn lle bod y cydseiniaid yn dwyn arwyddion y cyfnewidiadau arnynt eu hunain, fel y gwelir isod, un, neu ddwy, neu dair, o lythyrenau ereill diberthynas a arferir yn y drefn sathredig, i arwyddo y cyfnewidiadau hyny; ac fel hyn y tywyllir bonedd geirau, a llwyr anharddir yr iaith mewn amryw foddion ereill.

Ond gan mai iawn dangos hyn er cyfarwyddyd at wellhau, ac mai athrawiaethu yr annysgedig i ddeall sail yr iaith, fel y gwelir yn y llyfrau cyffredin, ydyw amcan penaf hyn o orchwyl, dyma yr egwyddor gyffredin yn canlyn ar ei phen ei hun.

*a b c ch d dd e f ff g ng h i l ll m n o*
*p ph r s t th u w y.*

Yma y gosodir yr un egwyddor eto, fel y dylai fod, yn gyflawn o lythyrenau; ac yn gyfochrog y gwelir llythyrenau ar ddull Coelbren y Beirdd, wedi eu nodi âg arwyddion y gwahanol gyfnewidiadau.

## Yr Egwyddor Gysefin.

| | | | |
|---|---|---|---|
| A â | a â | M m̓ | m f |
| B ḃ b̀ | b f m | N | n |
| C c̓ c̀ ć | c g ngh ch | O ô | o ô |
| D ḋ d̀ | d dd n | P p̓ p̀ ṕ | p b mh ph |
| E ê | e ê | R r̓ | r rh |
| V | f | S | s |
| F | ff | T t̓ t̀ t́ | t d nh th |
| G g̓ g̀ | g ng | U | u |
| H | h | Ō ô | w ŵ |
| I | i | Y y | y y |
| L l̓ | l ll | | |

---

### Adran 2.—*Dosparthiad Sain a Llafariaeth.*

Rhifedi y llythyrenau yn egwyddor gyffredin y Gymraeg yw saith-ar-ugain, ac a adnabyddir fel y canlyn:

*Y Prif Lythyrenau.*

A B C Ch D Dd E F Ff G Ng H I L Ll M<br>N O P Ph R S T Th U W Y.

*Y Mân Lythyrenau.*

a b c ch d dd e f ff g ng h i l ll m n<br>o p ph r s t th u w y.

Yr egwyddor a gynwys saith o lythyrenau a elwir Llafariaid; tair-ar-ddeg o Gydseiniaid unigol, neu yn

sefyll ar eu penau eu hunain; a saith o GYDSEINIAID DYBLYG, neu gysylltiedig.

Saith o'r rhai unigol ydynt lafariaid; sef, *a*, *e*, *i*, *o*, *u*, *w*, *y;* ac yn hirion fel hyn, *â*, *ê*, *î*, *ô*, *û*, *ŵ*. *ŷ*.

Y cydseiniaid unigol ydynt, *b*, *c*, *d*, *f*, *g*, *h*, *l*, *m*, *n*, *p*, *r*, *s*, *t;* a'r dyblyg ydynt, *ch*, *dd*, *ff*, *ng*, *ll*, *ph*, *th*.

O'r llafariaid y mae *w* ac *y* yn llythyrenau tawdd; hefyd, *a*, *e*, *o*, *w*, yn rhai cyfnewidiol.

Y mae eto ddosparth ar lythyrenau, y sydd o bwys yn unig i amlygu cywreinrwydd ymadrodd a phrydydd-iaeth, yn tarddu o rym eu sain, a dull eu llefariaeth.

Y cydseiniaid, yn ol eu gwahanol leoedd mewn geiriau a sillau, a gyfrenir ac a enwir fel y canlyn:

1. Y golafariaid ydynt un-ar-ddeg, sef, *ch*, *dd*, *ff*, *ng*, *l*, *ll*, *m*, *n*, *r*, *s*, *th;* ac a elwir felly am fod ynddynt hanner sain llafariad o'u hanian eu hunain.

2. Y mudseiniaid ydynt wyth, sef, *b*, *c*, *d*, *f*, *g*, *h*, *p*, *t;* ac a elwir felly am na seiniant yn eglur a llafar wrth y llythyrenau gloywon, eithr yn fwy cudd a mud-ion, fel yn y geiriau hyn, *bron*, *claf*, *drud*, *llwfr*, a'r cyffelyb.

3. Y toddedigion ydynt bymtheg, sef, *b*, *c*, *ch*, *d*, *dd*, *f*, *ff*, *g*, *ng*, *l*, *m*, *n*, *r*, *t*, *th;* ac a elwir felly am eu bod yn toddi y llafariad *y* o'r tu ol iddynt, ac yn gwasgu gair deusill yn un; megys, *llwybr* am llwybyr, *ocr* am ocr, &c.

4. Y newidiolion, neu, fel y geilw rhai hwynt, gwasg-awd lythyr, ydynt wyth, sef, *b*, *c*, *d*, *g*, *ll*, *m*, *p*, *t;* ac a elwir felly am eu bod yn cyfnewid, ac yn diflanu fel gwasgawd neu gysgod, a llythyrenau ereill yn cymeryd eu lle; megys yn lle *t* y daw *nh*, *d*, ac *th*, yn y gair hwn, *tad*, fy *nhad*, dy *dad*, ei *thad*.

5. Y goresgyniaid ydynt bymtheg, sef, *ch*, *d*, *dd*, *f*, *g*, *ng*, *ngh*, *l*, *m*, *mh*, *n*, *nh*, *ph*, *r*, *th;* ac a elwir felly

am eu bod yn goresgyn y llythyrenau newidiol, ac yn eu gyru ymaith, yn mhlethiad ymadrodd, o'u lleoedd gwreiddiol, gan deyrnasu o'u grym eu hunain yn eu lle; megys y gwelir *ch, g, ngh*, yn cymeryd lle *c*, fel hyn yn y gair *câr*, ei *châr*, fy *nghâr*.

6. Y gormesiaid, neu, fel y geilw rhai hwynt, marchawg lythyr, ydynt saith, nid amgen, *b, c, d, ff, g, p, t;* ac a elwir felly am eu bod yn nechreuad geiriau yn gormesu ar, ac yn marchogaeth tair o gydseiniaid ereill heb lafariad rhyngddynt, sef yr *l, n, r,* y rhai a elwir goddefiaid; ac yn y fath eiriau a hyn y gormesir arnynt hwy ganddynt, *bron, blaidd, cnwd, drud, ffrwd.*

7. Y tawddleddfiaid, neu, yn ol rhai, cledrau tawddleddf, ydynt chwech, nid amgen, *d, dd, l, n, r, s;* ac a elwir felly am eu bod, drwy osod llafariad ar bob tu iddynt, yn ffurfio sillau tawddleddf; megys, *cadw, enw, elw, gweddw, marw.*

Yn ol y peiriant ymadrodd y byddo y tafod yn fwyaf ei bwys arno wrth gywir barablu, y cydseiniaid a gyfrenir yn dri theulu; sef,

1. Y gwefusolion, am ein bod yn dywedyd pob un o honynt wrth nerth y gwefusau yn benaf, ydynt, *b, f, ff, m, p, ph.*

2. Y deintolion, am fod y tafod ar y dannedd wrth eu llefaru hwynt, ydynt, *d, dd, n, s, t, th.*

3. Y gorchfantolion, o herwydd fod y tafod, wrth eu llefaru hwynt, yn nhaflod y genau, ydynt, *c, ch, g, ng, l, ll, r.*

---

## PENNOD II.

Y mae pedwar peth yn perthyn i bob llythyren, sef, ei *henw, llun, trefn,* a'i *gallu.*

Ei *henw* yw y modd y mae yn alwedig; ei *llun* yw y

modd y mae yn argraffedig; ei *threfn* yw ei lle yn yr egwyddor; a'i *gallu* yw ei sain briodol.

### *Am y Llafariaid.*

Y llafariaid newidiol ydynt, *a, e, o, w;* gan nad yw *i, u, y,* ync olli eu sain anianol.

### A

*A,* yw y llafariad gyntaf yn egwyddor yr holl ieithoedd adnabyddus bron; ac yn nghyfansoddiad ein hiaith ni y mae iddi dri threigliad, sef, i *e, y,* ac *ei;* megys, *caru, cerais; attal, ettyl; cadw, ceidwad:* ac weithiau pan gyfnewidia i *ei,* ffurfia luosogion; megys, *march, meirch; arf, eirf.*

*A,* sy gysylltiad yn rhagflaenu geiriau fyddo yn dechreu â chydsain yn gyffredin; fel y mae *ac* yn gysylltiad o flaen llafariad yn fynychaf; megys, mam *a* thad; hen *ac* ieuanc; tref *a* gwlad; aur *ac* arian, &c.

*A,* hefyd, wrthi ei hun, a saif am ragenw, ac a eglurir fel hyn; '*A* wnelo hyn, nid ysgogir yn dragywydd.'

*A,* sy ferf, neu barwyddiad, fel hyn; 'Ac nid *â* i mewn iddi ddim aflan.' 'Yr halogedig nid *â* ar hyd-ddi.'

*A,* sydd orair, fel y canlyn; 'Yr enaid *a* becho.' 'Myfi yw y gwr *a* welodd flinder.'

*A,* sydd hefyd yn arddodiad, fel hyn; 'Ereill a'i tarawsant ef *â* gwiail.' 'Na chyffyrddwch *â* dim aflan.' Er fod *a* yn arddodiad wrthi ei hun, y mae hefyd yn gysylltiedig âg enwau gweiniaid, enwau cedyrn, a berfau; megys, *achlwm,* sef *a-chlwm, achrwm,* sef *a-chrwm; achadw,* sef *a-chadw.*

*A,* hefyd, sy gyfryngddod, neu daflodiad, yn arwyddo gofid, dychryn, neu boen; megys, *a! ah! och!* &c.

### E

*E,* sy lafariad ag iddi dri threigliad, sef, i *i, u, y;* megys, *maen, meini; aeth, euthym; llem, llym.*

Arferir *e* weithiau yn air wrthi ei hun, sef yn rhagenw priodol, fel hyn,

> Syfled pob mis o'i safle,
> Ac aed a gwyl gyd ag *e*.—Gro. Owain.

*E*, hefyd, sydd orair sicrhaol; megys, '*E* a gâr.'

I

*I*, sy lafariad ddigyfnewid; ond, yn ngwahanol droadau y Gymraeg, gelwir hi yn rhagenw, fel hyn,

> Y per afal, os profi,
> Marw a wnei, dyna marn *i*.—*Cywydd y Drindod.*

Yn arddodiad, fel hyn,

> Barnodd, fe'u taflodd y Tad,
> *I* boenau di-ddibeniad.—*Cywydd y Drindod.*

O

*O*, sy lafariad y perthyna iddi ddau dreigliad, sef, i *w* ac *y*; megys, *ton, twn*; *ffordd, ffyrdd*; *ffon, ffyn.*

Arferir *o* yn rhagenw, yn ol dull llygredig rhai parthau o'r Dywysogaeth; megys, 'Dywedodd *o*:' a chan y Beirdd, er mwyn cynghanedd; megys,

> Oer a pherygl ar Pharo,
> Llas nerth ei holl weision *o*.—G. Ganoldref.

Yn arddodiad, fel hyn,

> Llanwan' bob eirian oror,
> Fawr o faint, *o* fôr i fôr.—*Cywydd y Drindod.*

Yn gysylltiad yn lle *os*, fel hyn,

> *O* bu air heb ei warant,
> Goreu dim ei gau â'r dant.—Ieuan Deulwyn.

Yn gyfryngddod, fel hyn,

> Dyfod mae amser Dofydd,
> *O* haul, rhed! deued y dydd.—*Cywydd y Drindod.*

U

*U*, sy lafariad ddigyfnewid, ac heb un amser golli ei sain cyntefig.

## W

*W*, sy lafariad a dreiglir i *o* ac *y*; megys, *trwm*, *trom*; *pwn*, *pynau*: y mae *w* yn colli ei sain ar ol y tawddleddfiaid *d, dd, l, n, r, s*, heb lafariad arall yn ei lle; megys, *gwarchad*, am *gwarchadw*; *arddel*, am *arddelw*.

## Y

*Y*, pan yn rhagflaenu enwau cedyrn, unigol neu luosog, a elwir bannod, i ddynodi pethau neillduol oddiwrth bethau cyffredin; megys,

> Y Llywydd arno'n llawen
> Droe fwynaidd anwylaidd wên.—*Cywydd y Drindod.*

Yn orair, pan yn blaenu parwyddiad; megys, 'Felly *y* cywirir eich geiriau.'

Dau wahanol sain *y*, sef y *tywyll* a'r *eglur*, a amlygir yn y geiriau, *hyny*, *ystyr*, *llythyr*, *pybyr*, &c. Dealler fod *y* bob amser i'w seinio fel *u* yn y geiriau Seisonig, *hunt*, *fur*; oddieithr yn y sill ddiweddaf o bob gair, lle y seinia fel *u* Gymreig: yr unig eithriadau i'r rheol hon ydynt y geiriau unsill canlynol, *y*, *ydd*, *ym*, *yn*, *yr*, *ys*, *dy*, *dyd*, *dyt*, *fy*, *myn*, *syr*. Arferai yr henafiaid ddynodi dau sain y llythyren hon âg *e*; megys, '*En e deddiau henne*,' yn lle, '*Yn y dyddiau hyny*' Bod perthynas rhwng y llythyrenau *y* ac *e* â'u gilydd, sydd eglur, am ein bod yn gwneuthur geiriau estronol a ysgrifenir âg *e* yn eiddym ein hunain, drwy gyfnewid *e* i *y*; megys y geiriau Lladin, *testis*, *tyst*; *tempus*, *tymp*; *efangelium*, *efèngyl*.

Er fod *y* ac *u* o'r un cyffelyb sain mewn amryw eiriau, eto nid iawn ysgrifenu y naill yn lle y llall: dyledus yw gosod *y*, ac nid *u*, bob amser mewn geiriau ar ol *w*; megys, *bwyd*, *clwyf*, *llwyr*, a'r fath: ac, yn gyffredin, dylid gosod *u*, ac nid *y*, yn niwedd parwyddiad; megys, *caru*, *dysgu*, *chwaethu*; oddieithr pan yn arwyddo par-

had o unrhyw beth yn yr amser dyfodol; megys, a *bery, ffy*, &c. Cofier hefyd fod *a, e,* ac *o,* yn cyfnewid i *y*, ac nid i *u; megys, aradr, erydr; aberth, ebyrth; aros, erys.*

---

## PENNOD III.

### *Am y Deuseiniaid.*

Deuseiniad yw cysylltiad dwy lafariad yn nghyd yn yr un sill mewn geiriau, ac a lefarir âg un gwthiad o'r llais. Y mae pedair-ar-ugain o honynt, fel y dangosir yn ganlynol.

CYNLLUN.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| ae | aeth | ew | llew | iw | lliw | wa | gwan |
| ai | rhai | ey | teyrn | iy | iyrchod | we | gwell |
| au | aur | ia | iar | oe | oed | wi | gwin |
| aw | awr | ie | iechyd | oi | troi | wo | gwobr |
| ei | deigr | io | Ior | ow | ffowch | wy | gwyn |
| eu | lleuad | iu | luddew | uw | Duw | yw | ydyw |

O'r deuseiniaid y mae chwech, sef, *ae, ai, au, aw, ei,* ac *oe,* yn gyfnewidiol; megys, *maen, meini; bai, beiau; aur, euraid; brawd, brodyr; lleidr, lladron; oen, wyn.*

Yn lle *ai,* byddai yr henafiaid yn ysgrifenu *ei;* ac *eu* am *au.* Yn y Deaudir arferant *ou* yn lle *au* yn y Gogledd; megys, *our,* am *aur; houl,* am *haul.*

### *Am y Triseiniaid.*

Triseiniad yw cysylltiad tair o lafariaid yn nghyd, ac a lefarir yn yr un modd a deuseiniad. Y mae tair-arbymtheg o honynt.

CYNLLUN.

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| iae | afiaeth | iei | ieithydd | wae | chwaer | way | gwayw |
| iai | anghyfiaith | ieu | ieuanc | wai | gwair | wei | gweini |
| iau | doniau | iew | iewin | wau | gwaun | weu | gweuad |
| iaw | cyfiawn | ioe | erioed | waw | gwawr | wew | gwewyr |
| | | wiw | gwiw | wyw | gwywo | | |

Er y dygwydd fod amrai lafariaid yn nghyd yn yr un gair, eto ni chyfrifir yn lluosseiniaid ond y cynifer ag a gyfrenir yn sillau o honynt; megys, *llyw-iawdr:* gan hyny ni elwir y llafariaid cyfnesaf, megys, *dial, rhieni,* a'r cyfryw, yn ddeuseiniaid; nac ychwaith y rhai cyfnesaf, megys, *awyr, euog, awel,* yn driseiniaid; ac am nad ydynt unsain, ond amrafael sillau, gelwir hwynt llafariaid o flaen llafariaid.

---

## PENNOD IV.

*Treigliadau y Cydseiniaid yn nechreu Geiriau.*

Y mae y cyfryw eiriau ag sydd yn dechreu â chydseiniaid cyfnewidiol, megys, *b, c, d, g, ll, m, n, p, r,* a *t,* yn eu harferiad cysefin, yn newid eu llythyrenau dechreuol gwreiddiol hyn, fel y bydd yr achos yn gofyn, ac yn ol yr effaith a fydd gan y geiriau blaenorol arnynt.

Y mae treigliad y *llythyren ddechreuol* bob amser yn rheolaidd, ac yn oestad rhwng llythyrenau a fyddant yn cael eu llefaru gan yr un peiriant ymadrodd; o herwydd nid yw y *gwefusolion* byth yn cael eu cyfnewid i *ddeintolion,* na'r *deintolion* i *wefusolion,* &c.

Ac ni ddylai neb ryfeddu o blegyd y cyfnewidiad hwn yn y cydseiniaid dechreuol, canys y mae hefyd chwech llythyren yn yr Hebraeg, sef C. P. T, B. G. D. weithiau yn cyfnewid eu sain; y rhai a elwir gan Rammadegwyr, *Begad Cephath.*

### B

*B,* y gyntaf o'r cydseiniaid, sydd yn cyfnewid i *m,* ac *f:* megys, *bara,* fy *mara,* dy *fara ; bywyd,* fy *mywyd,* dy *fywyd.* Y mae y llythyren hon yn cadw ei lle yn yr holl ddynweddiadau lluosog; megys, ein *bywyd,* eich **bywyd,** eu **bywyd.**

C

Geiriau yn dechreu â *c*, a dreiglir i *ch*, *g*, ac *ngh*: megys, *câr*, ei *châr*, ei *gâr*, fy *nghâr*.

Ch

*Ch*, sy gydsain ddigyfnewid; megys, *chwaer*, dy *chwaer*, ei *chwaer*: gwasanaetha hefyd fel llawforwyn i *c*, fel y gwelir uchod.

D

Geiriau yn dechreu â *d*, a dreiglir i *dd*, ac *n*; megys, *Duw*, ei *Dduw*, fy *Nuw*.

Dd

Arferir y gydsain hon er esmwythau ar *d*, ac felly y mae mor belled yn llawforwyn iddi; megys,

Gelyn yw i *dd*yn ei *dd*a.

F

*F*, sydd yn ol anian a throell ymadrodd, yn cymeryd lle *b*, ac *m*; megys, *brawd*, ei *frawd*; *mory*, y *fory*.

Ff

Cyfrifir y gydsain hon yn mhlith yr anghyfnewidiolion; ond, ar yr un pryd, y mae yn ei natur yn tueddu at ormesiaeth; megys, *ffwch*, *ffrwyth*.

G

Geiriau yn dechreu â *g*, a dreiglir i *ng*; megys, *gwas*, fy *ngwas*: bwrir *g* allan weithiau mewn cyfansoddiad, yn ddylynol i'r rhagenwau meddiannol, gan adael y llafariad nesaf iddi yn ddechreuol; megys, *gwas*, ei *was*; *gwaith*, ei *waith*.

Ng

*Ng*, sydd weinidoges i *g*, yn canlyn y rhagenw meddiannol *fy*; megys, *gwlad*, fy *ngwlad*: ond dileir *ng* ar ol pob gair arall; megys, fy *mam-wlad*.

## H

Gelwir y llythyren hon yn arwydd uchenaid, a chanlynir hi bob amser â llafariad, oddieithr yn y geiriau hyn, *annhrefnus, annhraethadwy, enghreifftiau*, &c.: ac er nad addefir hon megys llythyren berffaith, eto hi a amlyga yr angenrheidrwydd o seinio y llafariad ddylynol iddi gyd ag anadliad cryf; megys, *hael, haul, hawl*, &c. Felly, gyda phriodoldeb, gellir ei galw yn *ebychnod.*

## L

*L*, sy gydsain ddigyfnewid; ac, o ran ei sain, bob amser yn feddal ac esmwyth. Pan ei harferir yn ddylynol i ragenw meddiannol, hi a gymer le *ll;* fel hyn, *llaw*, dy *law; llaeth*, ei *laeth.*

## Ll*

Geiriau yn dechreu â *ll*, fel y gwelir uchod, a dreiglir i *l;* megys, *llaw*, ei *law*, dy *law.*

---

* Eglur yw na ddichon i ddyblygiad y *D* neu yr *L* byth yn naturiol ddynodi sain arw-gryf y llythyrenau hyny, ond yn unig effeithia i ddyblygu y sain wreiddiol, megys yn y geiriau Seisonig *madder*, *mallard.* Ni chadwir yr annghysondeb hwn am na chyflwyna yr egwyddor Rufeinig i ni ein dewisiad o unrhyw gyfundeb arall o lythyrenau i arwyddo y sain: yn y gwrthwyneb, dodiad *Dh* ac *Lh*, arferedig gynt, yn eu lle, a dueddai mewn mesur mawr i symud yr anhawsdra. Yn yr ysgrif-lyfrau Cymreig henaf, nid oes dim gwahaniaeth i'w weled rhwng y llythyrenau hyn â'r *D* a'r *L* gyffredin; eithr gadewid i'r darllenydd, oddiwrth ei adnabyddiaeth o'r iaith, i wneuthur y gwahaniaeth yn y sain, lle y byddai angenrheidiol. O ddeutu y flwyddyn 1400, neu yn gynarach, y mabwysiadwyd gyntaf y dull o ddyblygu y llythyrenau, fel yr arferir yn awr. Eithr Dr. GRUFFYDD ROBERTS, yn ei Rammadeg Cymreig, (y cyntaf a argraffwyd erioed,) cyhoeddedig yn *Milan*, yn 1567, a osododd, yn lle y llythyrenau hyn, *D* ac *L* â nodau danynt; yn yr hyn y dylynwyd ef gan HUMPHREY LLWYD, GWILYM SALESBURY, a ROGER SMITH. Dr. J. D. RHYS, pa fodd bynag, yn ei Rammadeg Cymreig clodfawr, a argraffwyd yn 1592, a wrthododd y nodau, ac a arferodd *Dh* ac *Lh* yn eu lle, megys

### M

Geiriau yn dechreu â *m*, a dreiglir i *f*; megys, *mam*, ei *fam*, dy *fam*.

### N

Ni pherthyn i'r gydsain hon un cyfnewidiad. Cyfrifir hi yn un o'r goresgyniaid pan ei harferir yn y cyfryw eiriau a'r rhai hyn, *dyn*, fy *nyn*, &c.

*Nod.* Y mae *m*, ac *n* hefyd, yn cael eu seinio yn anadl-gryf yn y Deheudir; megys, ei *mham*, ei *nhai*.

### P

Geiriau yn dechreu â *p*, a gyfnewidir i *b*, *mh*, a *ph*; megys, *pen*, ei *ben*, fy *mhen*, ei *phen*.

### Ph

*Ph*, sy lawforwyn i *p*, ac a arferir yn mhob gair y byddo *p* yn ddechreuol iddo; megys, *pobl*, a *phobl*, ei *phobl*. Y gwir wahaniaeth rhwng *ff* a *ph*, yw, ein bod yn ysgrifenu âg *ff*, naill ai y cyfryw eiriau ag sydd yn Gymraeg bur, megys, *ffon*, *ffau*, *ffordd*, *ffelaig*; neu y fath eiriau ag sydd yn deilliaw oddiwrth eiriau Lladin ysgrifenedig gyda *f*, megys, *ffydd*, *ffynnon*, *ffurf*, *ffenestr*, *perffaith*: ond yr ydym yn gosod *ph*, ac nid *ff*, yn

---

y gwnaethai Dr. Powel hefyd yn ei "*Hanes Cymru*," cyhoeddedig wyth mlynedd cyn hyny. Dr. Davies, yn ei Rammadeg, argraffedig yn 1621, ac wedi hyny yn ei Eirlyfr, yr hwn a ymddangosodd yn 1632, a wnaeth y cyfnewidiad nesaf, drwy ddileu y *Dh* a'r *Lh*, ac adferu yr hen lygriad o'r llythyrenau dyblyg; pa rai, yn ganlynol, a barhasant mewn arferiad hyd gyhoeddiad yr *Archæologia Britannica* gan Mr. E. Llwyd, yn 1707, pan wnaed ymegniad i adsefydlu y llythyrenau a fabwysiadwyd gan Drd. Powel a J. D. Rhys. Ond er dylyn cynllun Mr. Llwyd, mewn rhan; eto, ni chafodd hwn, nac ymdrechiadau diweddarach Gwilym Owain Pughe, LL. D., yr effaith ddymunol. Y mae y llythyrenau dyblyg yn parhau i gadw eu tir; ac y mae y drwg, hwyrach, wedi gwreiddio yn rhy ddwfn i'w ddiddymu byth mwy.

nghanol pob gair cyfansawdd a fydd a'r *p* wreiddiol wedi ei chyfnewid i *ph;* megys, *triphen,* o *tri-pen;* *gorphen,* o *gor-pen;* *gorphwys,* o *gor-pwys.*

R

*R,* sy gydsain ag *h* bob amser i'w chynorthwyo wrth ddechreu gair; megys, *rhial, rhygnell, rhith:* eithr yr *h* a ddileir weithiau mewn cyfansoddiad; megys, *rhwyd,* ei *rwyd.*

S

Ni pherthyn i hon unrhyw dreigliad; eithr y mae, yn wyneb yr holl chwildroadau, yn sefyll yn ddigyfnewid.

T

Geiriau yn dechreu â *t,* a newidir i *d, nh,* ac *th;* megys, *tad,* dy *dad,* fy *nhad,* ei *thad.*

Th

*Th,* yw y ddiweddaf o'r cydseiniaid; nid yw y llythyren hon byth yn dechreu gair Cymreig, ond pan fyddo yn dreigliad oddiwrth *t;* megys, *tafod,* ei *thafod.*

***Cynwysdrem ar Dreigliadau y Cydseiniaid Cyfnewidiol.***

| | *Gwreiddiol.* | *Ysgafn.* | *Chwyrn.* | *Meddal.* |
|---|---|---|---|---|
| | EICH | DY | FY | EI |
| B | Bara | Fara | Mara | Bara |
| C | Câr | Gâr | Nghâr | Châr |
| D | Duw | Dduw | Nuw | Duw |
| G | Gwaith | Waith | Ngwaith | Gwaith |
| Ll | Llaw | Law | Llaw | Llaw |
| M | Mam | Fam | Mam | Mam |
| P | Pen | Ben | Mhen | Phen |
| Rh | Rhan | Ran | Rhan | Rhan |
| T | Tad | Dad | Nhad | Thad |

Yr egwyddor hon o gyfnewidiad y llythyrenau, fel trefniant rheolaidd, sy briodol i'r Gymraeg, er fod effaith y cyfryw chwannogrwydd mewn rhai o'r llythyrenau i gyfnewid eu sain i'w weled yn treiddio drwy bob iaith. Yn yr Hebraeg, er enghraifft, y mae chwe llythyren, y rhai a seinir yn ysgafn neu chwyrn, yn ol fel y byddant wedi neu heb eu harwyddo â'r nodyn a elwir *dages:* ac yn y Grywaeg y mae rhai llythyrenau, a elwir *mudsein-iaid*, y rhai a amrywiant eu sain o'r ysgafn i'r meddal a'r chwyrn, fel y gellid dangos yn eglur drwy lawer o enghreifftiau wedi eu tynu oddiwrth y parwyddiaid Grywaidd. Ond, yn y Gymraeg, y mae yn rheoli rhai o brif ddulliau cyfansoddiad, yn gystal gyda golwg ar gystrawen ag ar gyd-osodiad geiriau. Yr agweddiad-au neu y cyfnewidiadau hyn a ymddangosasant, bob amser, fel rhwystrau mawrion i ddyeithriaid. Y cyfryw ymddangosiad sydd i'w briodoli, mewn rhan, os nad yn gwbl, i ddau achos, er nad yw y naill na'r llall o honynt yn wreiddiol yn y trefniant:—un o honynt yw, na chaf-odd y cyfatebiad a hanfoda rhwng y cyfnewidiadau ei osod allan a'i egluro drwy gynlluniau priodol, hyd yn ddiweddar; a'r llall yw, o achos fod yr iaith wedi cael ei thwyll-wisgo mewn llythyrenau dyeithr i'w hanian, ac annghyfartal i gynnrychioli pob croyw-lefariad digy-mysg ynddi, heb ymgyrchu at lythyrenau diberthynas, ac weithiau arfer rhai dyblyg a thriphlyg, yn lle nodau unigol yr egwyddor wreiddiol.

---

## PENNOD V.

### ADRAN 1.—*Am Silliadaeth a Chyfansoddiad Geiriau.*

Sill yw cynulleidfa o lythyrenau a barablir â'r un an-adliad, heb gyfnewid nac ysgogi y llais; geill gynwys

o un lythyren hyd saith, sef o un i dair o lafariaid yn gysylltiedig âg un neu fwy o gydseiniaid; megys, *a*, *af*, *awr*, *cawr*, *grawn*, *gwraig*, *gwraint*: ac ni ddichon fod mwy na saith lythyren mewn un sill Gymreig.

Geiriau o un sain cysefin, megys *am*, *da*, *îr*, ac ereill gyfryw, ydynt ddefnydd yr holl eiriau cyfansawdd sydd yn y Gymraeg. Y geiriau o ddull nesaf i gyntefigion fel hyn a ddeuant o gyfansoddi dau neu dri o honynt yn nghyd; megys, *tad*, *mam*, *gwynt*, *gwan*, *llais*, *tant*, *traeth*, a llawer ereill: a chyd na byddo tro ar y llafar, nid yw y geiriau cyfansawdd hyn ond o un hyd amser eu sain â'r cyntefigion, a sill yw yr enw priodol arnynt. Lluaws o eiriau mân, tebyg iddynt hwy, fel cymalau mewn aelod, a wnant sillau i lunio geiriau hirion; megys, *daioni*, *gogoniant*, *goresgynwr*, *tragywyddoldeb*, a llaweroedd ereill; ac o ba rai y gwelir dangosiadau yn y Sillyddion Cymreig.

Harddwch yr iaith yw fod ei geiriau yn dangos eu defnydd cysefin yn amlwg; a chan hyny iawn yw ysgrifenu pob gair yn null ei ddefnydd, heb na mwy na llai o lythyrenau nag a fyddo yn ei ranau cysefin ar wahan, rhag cuddio ei ddechreuad neu ei darddiad. Prin y gwelir cymaint ag *un* llyfr yn ein hiaith, yn enwedig wedi ei ysgrifenu yn ddiweddar, heb fod yn llawn o feiau fel hyn; megys, *llann*, *torri*, *cammu*, *cenhedlu*, &c. Ond eto iawn yw cadw pob llythyren a fyddo gwreiddyn y gair yn ei gofyn, neu ei hadlawiad, os cyfnewidiol fydd; megys, *annhrugarawg*, *anneddwydd*, *meddiannau*, ac ereill o'u bath; o herwydd mai treigliad y rhai hyn sy fel y canlyn, *an-trugarawg*, *an-dedwydd*, *meddiant-au*; a hyn wrth fod *t* à *d* yn treiglo i *nh* ac *n* mewn cyfansoddiad.

Y Gymraeg sydd yn lluosog iawn o eiriau cysefin, sef, o rai byrion unsill; a gwiw a fyddai i bawb a

chwennychai ei dysgu yn hylithr, geisio yn fanwl iawn i wybod ystyr y geiriau hyn; canys cyfarwyddyd yn y defnydd sydd yn arwain y meddwl i ganfod perthynasau yr holl gyfansoddiad yn amlwg.

Mae llawer o eiriau cysefin yn gweini tair swydd; sef, yn enwau cedyrn, yn barwyddiaid o drydydd dynweddiad unig, ac yn arwyddocau yr ansoddau damweiniol hyny a gydunant â'u hystyr cyntefig. Rhai o honynt hefyd, megys adlawiaid, a weinyddant yn arddodiadau, goreiriau, a chysylltiadau.

Y geiriau tarddedig, neu y sydd yn hanu o rai cysefin, ydynt yn amrywio yn eu cyfansoddiad, mewn llawer modd; ac yn eu hyd hefyd, o ddwy i bedair, pump, chwech, a saith o sillau, neu fwy; eto nid gorchest arferu geiriau hirach na phedair sill, os gellir yn hawdd eu hebgor.

Mae tair trefn ar y moddion o gyfansoddi y geiriau tarddedig, neu ddisgynedig; sef, gyd ag arddodiaid, a therfyniadau, a'r ddwy yn nghyd. Yr arddodiaid ydynt y canlynol:

| A | am | cyf | dam | dos | ed | gor | hy | rhy |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| ach | an | cym | dar | dy | edd | gos | lled | tra |
| ad | ar | cyn | ded | dym | eil | gwr | lly | try |
| add | as | cynt | di | dys | er | gwrth | ofer | ym |
| af | cy | cys | dir | e | es | han | oll | ys |
| all | cyd | dad | dis | ech | go | hu | rhag | |

Llawer o'r rhai uchod a gyfansoddir yn nghyd, ac yn y cyflwr hwnw a gysylltir âg enwau cedyrn; megys,

| Ad-ddy | annar | annghys | dian | goled | traym | ymgyd |
|---|---|---|---|---|---|---|
| ador | annedd | arddis | diddos | gorym | ymad | ymgyf |
| ados | anni | cyfym | diddy | goym | ymdry | ymgyn |
| adym | annir | dadym | diled | gwrthym | ymddad | ymgys |
| adys | annis | darym | dirag | lledar | ymddar | ymos |
| adymddir | annos | dia | diwrth | lledym | ymddi | ymry |
| adymgys | anys | diad | diym | lledys | ymddir | ymwrth |
| anadd | annghyd | diadd | diys | rhyddi | ymddis | |
| anes | annghyf | diaf | dym | rhyddar | ymddy | |
| anhy | annghyn | diam | dyddym | rhyor | ymgy | |

Y terfyniadau a arferir i gyfansoddi geiriau tarddedig ydynt y rhai hyn,

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| Ach | megys | ysbleddach | wraig | megys | llaethwraig |
| ad | — | tröad | ur | — | penadur |
| aeth | — | gwybodaeth | ures | — | golchures |
| ant | — | carant | ydd | — | gwëydd |
| awd | — | pechawd | yddes | — | gwniedyddes |
| awr | — | telynawr | yll | — | brithyll |
| dawd | — | Duwdawd | yn | — | dernyn |
| deb | — | crynodeb | yr | — | llywiawdyr |
| der | — | gwylder | did | — | dyndid |
| dra | — | tyndra | rwydd | — | cywreinrwydd |
| ed | — | tynged | yd | — | bywyd |
| edd | — | nerthedd | ni | — | trychni |
| ell | — | cyllell | ai | — | llatai |
| en | — | mesen | an | — | gwylan |
| es | — | cares | ar | — | gwyar |
| i | — | barddoni | iar | — | toniar |
| iad | — | toriad | eb | — | traetheb |
| iaeth | — | dysgeidiaeth | ig | — | oenig |
| iant | — | mwyniant | wg | — | Esyllwg |
| id | — | rhyddid | wch | — | mireinwch |
| ineb | — | ffraethineb | eg | — | rheitheg |
| wr | — | morwr | ach | — | cyfeillach |

Cyfansoddir y rhai uchod hefyd fel hyn,

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| achwr | megys | cyfeddachwr | iedydd | megys | ceiniedydd |
| adur | — | traethadur | inebwr | — | godinebwr |
| aduriaeth | — | traethaduriaeth | inebydd | — | godinebydd |
| aethwr | — | tystiolaethwr | odiad | — | penodiad |
| awdwr | — | dysgawdwr | odiaeth | — | penodiaeth |
| dodiad | — | dwyfundodiad | odraeth | — | llywodraeth |
| dodiaeth | — | undodiaeth | odraethiad | — | llywodraethiad |
| dodwr | — | pendodwr | odraethydd | — | llywodraethydd |
| dodydd | — | pendodydd | odraethwr | — | llywodraethwr |
| ediad | — | tyngediad | odwr | — | penodwr |
| edwr | — | tyngedwr | odydd | — | cysodydd |
| edydd | — | tyngedydd | oriaeth | — | peroriaeth |
| eiaeth | — | llateiaeth | uriad | — | pechaduriad |
| elliad | — | cyllelliad | wriaeth | — | iechydwriaeth |
| ellwr | — | cyllellwr | ychiad | — | heddychiad |
| ellydd | — | cyllellydd | ychwr | — | heddychwr |
| iachwr | — | cyfeilliachwr | ychydd | — | heddychydd |
| iadwr | — | trefniadwr | yddiaeth | — | prydyddiaeth |

Y ddeuryw ddefnyddiau uchod a arferir i gyfansoddi yr holl hanedigion cyffredin; ond y mae eto aml amrywiaethau o eiriau cyfymlyn, yn enwedig mewn iaith brydyddol; megys rhai fel hyn,

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Aerdarf | cariadfab | fflamddwyn | iseldrem | nawswyllt |
| anfadgamp | dyfnfor | gwendon | llwydrew | oedran |
| balchlun | eurdorchogion | hoewdeg | mânod | perfeddnod |

Geill geiriau fel hyn hefyd gymeryd arddodiaid a therfyniadau, yn ol yr achosion.

Pob gair cyfansoddedig a ellir ei wahanu yn hydrefn i'w ranau cysefin, heb drosi amgen arno ond a berthyno i gyfnewidiadau y llythyrenau, a soniwyd eisoes am danynt; a chan hyny nid oes le i fwrw dim ar amcan, o herwydd fod y cyfan yn amlwg drwyddo.

Dylid, wrth silliadu, ranu pob gair cyfansawdd, neu luossill, yn ei gysylltiadau gwahanol; ac nid ei ranu rhwng dwy gydsain, neu ddwy lafariad, oni bydd cysylltiadau terfynol y gair yn goddef hyny; megys, *pryd-ferth*, *rhyw-iog*, *cy-mwyn-as-gar-wch*.

Dylid hefyd, yn ol cysylltiad synwyrol y gair, adael llafariad weithiau wrthi ei hun; sef, yn nechreu gair, fel, *a-thrist*, *o-bry;* yn nghanol gair, fel, *gall-u-og*, *trist-a-ol;* yn niwedd gair, fel, *am-can-u*, *bodd-lon-i*.

Pan ddygwyddo rhai geiriau anhawdd eu gwahanu, y rheol oreu yw eu rhanu yn ol cysylltiad anianol y geiriau, yn nesaf ag ellir i'r cyfarwyddyd uchod; eithr nid ellir rhanu *ch*, *dd*, *ff*, *ng*, *ll*, *ph*, *th*, sef y llythyrenau dyblyg.

### ADRAN 2.—*Sylwadau pellach ar Silliadaeth.*

Y mae yn hysbys i'r rhan fwyaf o lênorion Cymreig fod dadl eto ar droed yn nghylch y dull goreu o ysgrifenu yr iaith, o barth llythyraeth. Y ddadl hon a gyfododd o gylch y flwyddyn 1804, y pryd yr amcanodd y diweddar Barch. T. CHARLES, A. B., o'r Bala, ddiwygio llythyreniad y Bibl ag oedd y pryd hwnw i gael ei argraffu yn Nghaer Grawnt, dros Gymdeithas y Biblau. Y cynygiad hwn o ddiwygiaeth a gyffrôdd wrthwynebiad nid bychan i Mr. CHARLES; ac er ei fod ef wedi

huno mewn heddwch, y mae y rhyfel yn nghylch llythyreniad geiriau yn parhau eto. Amddiffynwyr yr hen drefniant a haerant mai llythyreniad Bibl yr Esgob PARRY, yn 1620, yw y cynllun safadwy i'w ddylyn byth yn mhob argraffiad o'r Bibl a llyfrau ereill. Y blaid am ddiwygiad a haerant, o'r tu arall, nad yw yr argraffiad hwnw yn deilwng o efelychiad ddim pellach nag y byddo y geiriau wedi eu llythyrenu yn gyson â'u tarddiant o'u rhanau gwreiddiol; ac ar yr egwyddor hon y ffurfiwyd y rheolau canlynol, y rhai, gan belled ag y medraf ddirnad, ydynt gydfynedol â natur y Gymraeg, ac â llafar ymbwyll cyfiawnfarn.

1. Bernir y dylid mabwysiadu y rhagddodiad *cy*, yn hytrach na *cym*, yn *cymal, cymeryd, cymydog, gorchymyn*, &c. *Cy*, yn hytrach na *cyn*, (cyfnewidiad o *cyd*,) yn *cynal, cynorthwy, cynwys*, &c. *Cy*, yn hytrach na *cys*, yn y cyfryw eiriau a *cysegr, cysylltu*, &c. *Can*, cysylltair, yn hytrach na *cyn*, mewn ymadroddion tebyg i *can wyned, can gynted*, &c. *Cen*, yn hytrach na *cyn*, yn *cenfigen*. *An*, geiryn difeddedigol, i'w gadw yn *annuwiol, annoeth*, &c. Hefyd, er cynal unweddiad, ni ddylid difodi yr *n* yn *annghof, annghyfiawn*, &c., er y dichon iddynt ymddangos yn lled chwithig ar y cyntaf. Ystyrier y blaenddod *di* yn wastad yn nacâol, a *dy* yn gadarnhaol.

2. Gosoder nod hir-dôn yn ddigyfnewid uwch ben yr arddodiaid *â, âg;* oddigerth mewn cyfansoddiad, megys, *gyda, gyd ag*.

3. Na ddiorsedder yr *n* yn yr arddodiad *yn*, mewn un enghraifft na sefyllfa; megys, *yn nghadw, yn nghalon, yn nghyd, yn nghylch*, &c.

4. Er mwyn gradd helaethach o bereidd-sain, arferer *y*, yn hytrach nag *'r*, (cwtogiad o *yr*,) mewn ymadroddion tebyg i'r canlynol: 'Wedi iddo dreulio *y* cwbl,' nid

'dreulio *'r;*' 'Galw *y* doethion,' nid 'galw *'r*.' Eithr mewn ereill, *'r;* megys, 'Y mabwysiad, *a'r* gogoniant, *a'r* cyfamodau,' nid '*ac y*.' 'A laddodd Iago *â'r* cleddyf,' nid '*âg y*.' 'A'r ser a syrth *o'r* nef,' nid '*oc y*.' 'Nac *i'r* tir,' nid '*i y*.'

5. Gadawer y nod ymsathr heibio yn *ni's*, gan mai negydd yw *nis*, yn gystal a *ni*, *nid;* ac fel y cyfryw nis dichon fod angen am dano.

6. Diswydder yr *h* lle nid yw ofynol fel nod chwythiad garw-gryf, neu fel rhan hanfodol o'r gair; megys yn *breninoedd, cenedloedd*, &c., oddiwrth *brenin, cenedl:* eithr nodder hi gan y geiriau na fedrant sefyll heb ei chymhorth; megys, *bywhâu, bywhâd*. Y mae gormod o wendid yn ymddangos mewn torf o lafariaid yn nghyd, heb gydsain rhyngddynt; a'r eilun goreu o gydsain yw *h*. Gwan hynod ar olwg yw *bywâau*, yn gystal a *bywâad:* eto, rhaid addef na fedd gymaint hawl i'r lle hwn ag y sydd ganddi yn y geiriau *anhardd, anhawdd*.

7. Dylai pob gair, fel y sylwyd eisoes, gael ei gyflawn rif priodol o lythyrenau; megys, *dannedd, meddiannau*, oddiwrth *dant, meddiant*. Hefyd, pan gyferfydd dwy *d* mewn gair cyfansawdd, megys *ymddattodiad*, y mae yn angenrheidiol rhoddi *t* am bob *d*, i barhau y gwreidd-eiriau ar gof a chadwedigaeth.

8. Lle nad yw cydseiniaid dyblyg yn anhebgorol angenrheidiol, meddylir fod un o honynt yn ddigonol i'w chadw; megys, *penau, prenau, tonau*, &c. Dywedwyd a chyhoeddwyd fwy nag unwaith, os nad ysgrifenid y geiriau hyn a'u cyffelyb â dwy *n* ynddynt, y byddai perygl o'u cam-seinio, drwy eu darllain *pe-nau, pre-nau, to-nau*. Nac oes; y mae plant yr ysgolion yn cael eu dysgu i silliadu yn well na hyn. Hwy a wyddant mai y gwreiddiau ydynt *pen, pren, ton;* ac mai y terfyniad lluosog i bob un ydyw *au*, ac nid *nau*

un amser. Y mae amryw derfyniadau ereill yn ufudd-ion i'r un rheol; megys, *aeth* yn *penaeth*, *ydd* yn *bron-ydd*, &c. Y mae yr aceniad yn sefydledig eisoes, heb yr *n* ormes, wrth reol gyffredinol aceniad; yn yr hyn y mae y Gymraeg yn rhagori ar lawer o ieithoedd y byd.

9. Diachos yw dwy *t* yn *bwyta*, *cardota*, &c., am fod un *t* yn ddigon trom i bwyso *d*, pan osoder yn ei lle, er mwyn grymuso y llefariad. Na rodder ond un *t* yn *cyt-uno*, *cytundeb*, &c., o ran mai o *cyd-uno*, *cyd-undeb*, y deilliant: ac o'r gair *hynod* y treiglir *hynotach*, *hynotaf*. Un *m* yn *camu*, *llamu*, &c., am fod eu tarddiad o *cam*, *llam*; at ba un y cysylltir y terfyniad gweithredol *u*. Hefyd, doder un *t* yn *atoch*, *atynt*, *ateb*, am mai achau y geiriau hyn ydynt *at-chwi*, *at-hwynt*, *ad-eb*. Na oddefer i'r ddwy gydsain aros mewn geiriau cyffelyb i *mynu*, *tori*, *tynu*, &c.

10. *Au* sydd un o'r terfyniadau amlaf i'r rhif lluosog; megys, *coron-au*, *taran-au*; ac o herwydd hyny, er mwyn gwahaniaeth, mwy priodol a fyddai terfynu geir-iau heb fod o'r lluosog-rif âg *eu* yn lle *au*; megys, *dechreu*, *goleu*, *goreu*, *teneu*, &c.

11. Am derfyniadau geiriau ansoddol, mwy dewisol yw arfer *awl*, *awg*, &c., mewn iaith ddifrif-ddwys; ac *ol*, *og*, &c., mewn iaith gyffredin a sathredig.

12. Arferer *sy* o flaen cydseiniaid, a *sydd* o flaen llafariaid; megys, 'Y neb y *sy* ganddo;' 'Beth *sydd* yn lluddias.' Arferer y gair *bod* yn nechreu cyfansodd-iad, ond *fod* mewn manau ereill; megys, '*Bod* Duw yn fwy na phawb sydd eglur, gan *fod* pawb yn ymddi-bynu arno.' Felly hefyd gosoder *gwedi*, *tros*, *trwy*, &c., ar gychwyniad pob traith; ond *wedi*, *dros*, *drwy*, &c., mewn sefyllfaoedd ereill.

13. Silliader y geiriau canlynol yn y modd hwn:—*angau*, *cadben*, *canmawl*, *corph*, *creulawn*, *cyfreith-*

*lawn, darllain, deheu, dianmheu, digllawn, dweyd, dwylaw, eisieu, ffyddlawn, gwilio,* (gochelyd,) *gwylio,* (bod yn effraw,) *gwrandaw, hysbys, llanc, llwnc, pwnc, sarph, taenu, tymhestl, waered, ymadaw, ysbryd.*

## RHAN II.

### PENNOD I.—AM ACENYDDIAETH.

ACENYDDIAETH yw y gelfyddyd o gywir seinio llythyrenau a sillau mewn geiriau, drwy godiad neu ddisgyniad y llais yn fwy gwahanol ar ryw sill na'i gilydd yn yr un gair, yn ol priodol amser ac acen.

Perthyn i sill ddau amser gwahanol; sef, amser *byr*, ac amser *hir*.

Un amser *byr* i sill y sydd; megys, *hwn, llan, llen, llyn, ton, tyn*, &c.

Tri amser *hir* y sydd, fel y canlyn:

Amser hir un-amserog; megys, *gwr*.

Amser hir dau-amserog; megys, *gwrysg*.

Amser hir tri-amserog; megys, *gwnaent*.

Grym neu bwys y sain a ddisgyn ar eiriau fel y canlyn: ansàwdd cyffredin y Gymraeg yw, fod y sill olaf ond un yn derbyn yr acen; yna bydd y pwys ar y sill gyntaf o air dwysill, megys, *bàchgen;* ar yr ail o un teirsill, megys, *credàdyn;* ar y drydedd o un pedeirsill, megys, *ysgrifènu;* ar y bedwaredd o un pumsill, megys, *annghyfnewìdiol;* ac yn gyfunddull mewn geiriau pymthegsill, pe byddent. Ond pan fyddo *h* rhwng y ddwy sill olaf mewn gair, yna rhoddir pwys yr acen ar y llafariad nesaf iddi; megys, *trymhâu, cadarnhâu,* ac hefyd yn *cyffròi, canymdòi.*

Enghraifft a ddengys fel y mae yr acen yn llithro tua'r deheu o sill i sill, o'r gyntaf i'r ail, y drydedd, a'r bedwaredd:

Pèrchen
Perchènog
Perchenògaeth
Perchenogàethau.

Gweler uchod reolusrwydd yr aceniad. Diffynwyr yr hen drefniant a fynant ysgrifenu yr ail, *perchennog*, fel y mae yn y Bibl argraffedig yn 1620; a hyny er mwyn iawn-osodiad yr acen. Caniataer hyny; ond edrychant ar y trydydd gair: ar ba sill y gorphwys yr acen yno? Nid ar yr *ail*—nid ar yr *en*—ond ar y *drydedd* sill, sef *og*. Am hyny, i ddiogelu yr acen, ysgrifenant y gair hwn â dwy *g*, yn lle dwy *n*; fel hyn, *perchenoggaeth!* Ond dianmheu y gwel pawb mai cwbl anhywedd ac aflithrig a fydd ei seldrem felly.

Tri math o acen sydd; sef, y dderchafedig, y ddisgynedig, a'r amgylchedig. Arferir weithiau arwyddion yr acenion hyn uwch ben y llafariaid, i ddangos pwys y sain; fel hyn, *â, à, á*. Y gyntaf, neu yr amgylchedig, a wna sain *a*, neu unrhyw lafariad arall, yn hir, megys yn y gair *caniatâd;* yr ail a arwydda aceniad trwm, neu ddisgynedig, mewn gair, yr hyn a fydd amlaf pan derfynir â dwy lafariad, megys *e* yn y gair *dilèu;* yr olaf a arwydda un dderchafedig, drwy roddi pwys y sain yn rymus a chyflym, megys *cán;* ond nid arferir y ddiweddaf amgen ar eiriau unsill.

Er y sonia Grammadegwyr am dair acen ar eiriau unsill, eto nid oes lwyr achos ond am ddwy yn y Gymraeg, sef yr *hir* a'r *fer;* nac am ond un o'r ddwy hyny, pe cytunid pa un o honynt a gedwid. Mwy o nodau aceniad a fyddai er mwy rhwystr na chyfarwyddyd. Byddai argraffyddion yn debyg o'u cymysgu yn amryf-

us: rhoddent ddyryswch i ddysgyblion, a hawdd y geill athrawon eu hebgor. Y ddadl yw, pa un ai yr acen hir ar y gair *cân*, ac ereill gyfunrhyw, ai y fer ar *cán*, a roddir heibio. Rhai a haerant, gan fod mwy rhif o eiriau byrion unsill na rhai hirion, y dylid rhoddi heibio yr hir. Nid wyf fi gyfunfarn â hwynt yn hyny: dynoder *cân* awenyddol, a *glân* fuchedd; a gadawer bara *can*, a *glan* Rheidol, i ymbwyll y darllenydd. Ymddengys cymhwysder fy haeriad, wrth yr atebiad canlynol:—I ba le yr âi di? . 1. Af i dy *dŷ* di. 2. Af i *dŷ* dy di. Yr aceniad cyntaf ydyw y mwyaf dealladwy, a mwyaf dewisol hefyd, am ein bod yn gynefin âg ef; a phaham y rhaid rhoddi i fynu gynefindod am annghynefindod, os na bydd yr un cynefin yn feius? Gan hyny, acener pob unsill hir, megys *mân, glân;* a gadawer y rhai byrion, megys *man, glan, can,* &c.; a'r rhai canolig, megys *bref, llef,* &c., yn ddi-nôd. Ychydig o gydnabyddiaeth â'r iaith, a rydd ddigon o hysbysiaeth i'r annghyfarwydd i wahaniaethu rhwng acenion byrion a chanolig; a chaniataer i'r acen hir yn unig gael ei pharchu â'i nod hirllaes.

O adnabod ansawdd y sillau y llunir banau cerdd dafod; yna pob sill â phwys arni sydd drom a hir, neu â dau amser iddi; ac un heb iddi bwys sydd ysgafn a ber, âg un amser iddi. Ac i ddangos y fath sillau mewn cerdd, er eu dysgu, rhai a arferant nodau hirion a byrion ar y llafariaid; megys,

*Cērddĕd, dȳnŏl, mānŏd, mēddăl.*

Y gyntaf sydd hir, a ber yw yr ail. Neu, yn iaith y Beirdd, gelwir sill hir yn *gorfan crwn,* megys, *dyn, dawn;* sill fer yn *gorfan byr,* megys, *barn, dull;* dwy sill hir olynol, *corfan hir,* neu *gydbwys,* megys, *mwyhau;* sill hir a dwy fer olynol, *corfan crych disgynedig,*

ac nis gellir hyn yn y Gymraeg, ond mewn cyfansoddiad, megys,

Tân y wyllt anian a'm tynodd o'm lle.

Dwy sill fer o flaen un hir, *corfan crych derchafedig*, megys, *llawenhau, trugarhau;* ber a hir, *corfan talgrwn*, megys, *mwynhau, iachau;* a hir a ber, *corfan rhywiog*, megys, *canu, dawnus, myned.* A chan mai o ddeall yr ansoddau hyn ar sillau y llunir y banau, sef y cynghaneddion, neu y naw gorchan; yna o gyfuno y gorchanau y cyfansoddir pennillion, yn ol eu hamrywiaethau cynwysedig yn y pymtheg colofn adlaw; a'r naw gorchan, yn nghyd a'r pymtheg colofn adlaw, a wnant i fynu y pedwar mesur ar ugain cerdd dafod.*

# RHAN III.

## PENNOD I.—AM EIRYDDIAETH.

HYD yn hyn y soniwyd am y llythyrenau, neu yr arwyddion a ddodant eiriau yr iaith yn drywel i'r llygad; ac am y geiriau hefyd o berthynas i ansawdd eu lluniadaeth a'u sain: bellach, traethir am danynt fel y maent yn offerynau i ddangos amryfeilion weithrediadau y meddwl, sef rhanau ymadrodd.

* Yn ol tystiolaeth cynoresgynydd yr Ynys hon, sef IWL CAISAR, a'r ysgrifenwyr Rhufeinig canlynol, yr oedd Esyllwg yn rhagori yn mhell ar daleithiau ereill Cymru mewn cyrhaeddiadau hywedd, ac ymegniaeth gwladgar. Eglur yw, i drigolion y dalaeth hon ychwanegu yn fawr at wybodaeth eu cenedl oddiwrth ddysgeidiaeth y Rhufeiniaid; ac i'w Beirdd, yn enwedig, dderbyn budd helaeth oddi wrthynt. Oddi yma, yn ddianmheu, y tarddodd gwybodaeth am y *corfanau*, gwybodaeth na fu, hyd yr oes fendigaid hon, yn meddiant Beirdd unrhyw dalaeth arall o Gymru.

GEIRYDDIAETH sydd yn dysgu i ddeall bonedd a thadogaeth geiriau, neu darddiad y naill air o'r llall; yn rhoddi eglurhad ar ranau ymadrodd, perthynas yr amryw eiriau â'u gilydd, ac yn dangos y gwahanol ddull o amrywio yr un geiriau; megys, *byd, bydoedd; melus, melusach; caraf, cerais.*

Er deall geirydd iaeth unrhyw iaith yn gywir, gofynol yw bod yn hyddysg yn rhanau yr ymadrodd; ac yn y Gymraeg cyfrifir yn gyffredin wyth o honynt; sef, ENW, RHAGENW, PARWYDDIAD, GORAIR, BANNOD, CYSYLLTIAD, ARDDODIAD, a CHYFRYNGIAD.

## ADRAN 1.—*Am Ansawdd Enw.*

Enw sydd o ddau fath; sef, enw cadarn, ac enw gwan. Enw cadarn yw pob sylweddair a arwyddocao gadernyd a synwyr ynddo ei hun; sef enw pob peth a ellir ei weled, ei glywed, ei deimlo, ei arogli, neu ei amgyffred yn y deall, yn ysbrydol neu gorphorol; megys, *dyn, pren, lliw, llef, iaith, gwres, dolur, angel, enaid, ysbryd, pwyll, serch,* &c.

Enw gwan ni ddengys gyflawn synwyr ynddo ei hun; megys, *da, doeth, ffyddlon:* ac nis gall sefyll oddieithr ei fod yn gysylltiedig âg enw cadarn yn gyneiliad iddo, yna ffurfiant yn nghyd gyflawn synwyr; megys, *gwr da, gwraig ddoeth, gwas ffyddlon.*

Enw cadarn sydd o ddau ryw; sef, priodol, a chyffredinol, neu alwedig.

Deuryw enw priodol y sydd; enw bedydd, megys *Madog;* a llysenw, megys *Madyn.*

Enwau cedyrn priodol ydynt enwau annghyfranogol dynion, lleoedd, &c., sef y rhai a berthynant neu a gydweddant i un peth, neu ddyn, drwy alwedigaeth neillduol; megys, *Ieuan, Llywelyn, Nest, Gwenlliant, Caerludd, Caerlleon;* o herwydd nid yw *Ieuan* a

*Llywelyn* yn enw pob gwr, na *Nest* a *Gwenlliant* yn enw pob gwraig, na *Caerludd* a *Caerlleon* yn enw pob dinas.

Enwau cedyrn cyffredinol ydynt y rhai a gydweddant i bethau o unrhyw ddull a math, drwy alwedigaeth; megys, *angel, dyn, derwen, cerdd, celfyddýd,* a'r cyfryw, beth bynag a fyddo cadarn.

Perthyn i enw cadarn Genedl, Rhif, ac Achos.

## Adran 2.—*Am Genedl Enw.*

Cenedl enw sydd yn amlygu y gwahanol rywiogaeth rhwng gwrryw a benyw, ac a gyfrifir yn y Gymraeg yn dair; sef, gwrrywiol, benywol, a chyffredin. Ni feddwn ganolryw, mwy na'r Hebreaid, y rhai, yn ei le, a arferant y fenywol.

Gwrrywiol ydynt bawb enwau perthynol i ddynion ac anifeiliaid, ac a dreiglir â *hwn* neu *ef;* megys, *gwr, gwas, carw, ych,* a'r cyfryw.

Benywol yw pob enw a dreiglir â *hon* neu *hi;* megys, *gwraig, morwyn, asen, ewig,* &c.

Cyffredin sydd enw heb arwyddocau gwrryw na benyw; megys, *angel, dyn, plentyn.* Hefyd, enwau cedyrn difywyd, megys *haul, lloer, tŷ;* y rhai, er nad oes iddynt genedl, eto, drwy arfer ymadrodd, ac wrth ryw berthynasau tebygol a welir ynddynt i fywiolion, troir hwynt y rhan amlaf naill ai yn wrrywiol neu yn fenywol; megys yr arferir *mynyddoedd, gwyntoedd, misoedd, dyddiau,* fel yn wrrywiol; ac hefyd, *afonydd, coedydd, ceryg, dinasoedd, teyrnasoedd,* yn fenywol.

O herwydd hyny y dychymygir fod o genedl wrrywiol bob enw cadarn yr ymddangoso ynddo rith cynhenid o fywiogrwydd, ac a weithreda ar ereill, neu a gyfrodda iddynt; ac enwau a fyddont o rith priodoldeb

yn goddef *dwyn*, neu *gynwys*, neu *hiliaw*, arferol yw eu tebygu o genedl fenywol.

Er y crybwyllir am dair cenedl enw yn y Gymraeg, megys uchod; eto, y maent oll mewn rheitheg a barddoniaeth, yn ddisgynedig i un o'r ddwy genedl flaenorol, sef gwrrywiol a benywol.

Cenedl enw a wahaniaethir mewn tair ffordd. Yn gyntaf, drwy amrywiaeth enwau, fel y canlyn:

| *Gwrryw.* | *Benyw.* | *Gwrryw.* | *Benyw.* | *Gwrryw.* | *Benyw.* |
|---|---|---|---|---|---|
| Asyn, | Asen. | Ceffyl, | Caseg. | Mab, | Merch. |
| Bachgen, | Geneth. | Ceiliog, | Iâr. | Nai, | Nith. |
| Brawd, | Chwaer. | Cyw, | Cywen. | Tad, | Mam. |
| Carw, | Ewig. | Gwr, | Gwraig. | Taid, | Nain. |

Yn ail, drwy gysylltu yr enw a'r genedl yn gyfansawdd; megys, *llaethwr, llaethwraig; priodfab, priodferch;* hefyd, *y gwrryw, y fenyw; hwn, hon; efe, hi.*

Yn drydydd, drwy ychwanegu *es* at derfyniadau y genedl wrrywiol, fel y canlyn:

| *Gwrryw.* | *Benyw.* | *Gwrryw.* | *Benyw.* |
|---|---|---|---|
| Arglwydd, | Arglwyddes. | Pendefig, | Pendefiges. |
| Brenin, | Brenines. | Prophwyd, | Prophwydes. |
| Cantor, | Cantores. | Tywysog, | Tywysoges. |
| Etifedd, | Etifeddes. | Unben, | Unbenes. |
| Iuddew, | Iuddewes. | Ymmherawdr, | Ymmherodres. |

Adwaenir dull nodweddol a chenedl pob enw hanedig, neu a ddisgyno o air arall, wrth y terfyniad perthynasol a fyddo iddo.

Mae rheolau cyffredin wrth ba rai y gwahaniaethir cenedl pob enw oddiwrth arall. Yn fynychaf, y terfyniadau a ddangosant genedl yr enwau disgynedig; ac yn y geiriau cysefin y mae llafariaid gwrrywiol neu fenywol, wrth ba rai yr adwaenir eu cenedl hwynt.

1. O genedl wrrywiol y mae yr enwau disgynedig y byddo iddynt y terfyniadau canlynol:

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| awr | megys | telynawr | yll | megys | ysgudyll |
| wr | — | morwr | yn | — | dernyn |
| ur | — | penadur | yr | — | llywiawdyr |
| ydd | — | darllenydd | ys | — | gwregys |

2. Benywolion ydynt y rhai a ddiweddant yn

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| as | megys | priodas | en | megys | mesen |
| ech | — | llech | es | — | llynges |
| ed | — | dyled | ures | — | pechadures |
| ell | — | pibell | wraig | — | llaethwraig |

3. Y terfyniadau canlynol ydynt o genedl gyffredin, ond bwrir hwynt fynychaf yn wrrywiolion, ac a ddodir wrth enwau cynulledig, yn y dull canlynol:

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| ad | megys | tröad | dawd | megys | nychdawd |
| aeth | — | gwasanaeth | deb | — | cywirdeb |
| ant | — | esgarant | der | — | taerder |
| awd | — | traethawd | dra | — | ffieidd-dra |
| i | — | gwrthuni | edd | — | amynedd |
| iad | — | caniad | ineb | — | ffolineb |
| iaeth | — | arglwyddiaeth | rwydd | — | parodrwydd |
| iant | — | moliant | yd | — | bywyd |

4. I eiriau o genedl gyffredin, ond a arferir yn fenywol, y mae y terfyniadau hyn,

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| ag | megys | mynag | ed | megys | colled |
| ai | — | magai | iai | — | telyniai |
| an | — | cathan | iar | — | toniar |
| ar | — | daear | ig | — | gwig |
| eb | — | deiseb | wg | — | syllwg |

Cenedl lluaws o eiriau cysefin a arwyddir gan y llafariaid a fyddo ynddynt; megys,

1. Pan fyddo enwau gwrrywiol ag *w* ynddynt yn cael ei throi yn *o*, yna y maent yn fenywol; megys, *ffwrch, fforch; bwlch, bolch*, &c.

2. Yr un fath os bydd *y* yn llunio geiriau gwrrywiol, a throi hono yn *e*, yna benywol fyddant; megys, *asyn, asen*, &c.

3. Y llafariad *a* sy fynychaf yn arwyddocau geiriau o genedl gyffredin; megys, *man*, &c.

Pob gair a ddechreuo gyd ag un o'r cydseiniaid cyfnewidiol, oddieithr *Ll* ac *Rh*, ac a dreiglo i'r sain ysgafn drwy ddodi *y* o'i flaen, a ddengys yn ddifeth os bydd o'r genedl fenywol; megys, *cenedl, y genedl; mam, y fam:* eithr os y gydsain ddechreuol ni chyfnewid, yna dengys fod y gair yn y genedl wrrywiol; megys, *mab, y mab; tad, y tad.**

## ADRAN 3.—*Am Rif Enw.*

Enwau cedyrn ydynt o ddau rif; sef, unig a lluosog.

Y rhif unig a arferir pan grybwyllir am un peth wrtho ei hun; megys, *gwr, gwraig, plentyn:* a'r rhif lluosog

---

* Y mae cyfatebiad rhyfeddol rhwng y Gymraeg a'r Llydawaeg mewn perthynas i gyfnewidiad y cydseiniaid dechreuol; yr hyn, o hono ei hun, sydd arddangosiad hynod o henafiaeth mawr y trefniant hwn, ac, o ganlyniad, yr ieithoedd hefyd yn mha rai y ceir ef yn ffynu. Canys y mae mwy na phedwar cant ar ddeg o flyneddoedd wedi llithro heibio er dydoliad y Llydawiaid oddiwrth y Cymry, yn nyddiau CYNAN MEIRIADOG. Gellir, gan hyny, olrhain y trefniant dan sylw, gyd a'r dilysrwydd mwyaf, yn ol i'r pedwarydd canrif; ac nid oes genym, ychwaith, un sail i dybio nad oedd yn bodoli lawer o oesau yn flaenorol i'r amser hwnw: yn y gwrthwyneb, pan anfonodd y Cymry drefedigion i Lydaw, rhaid fod y trefniant gan berffeithied ag ydyw yn awr; ac nid anhawdd dwyn enghreifftiau i brofi tebygolrwydd ei ddechreuad mewn cyflwr cyntefig o eiddo cymdeithas. Y berthynas wiwnod hon rhwng ieithoedd Llydaw a Chymru, nis gellir ei holrhain, yn yr un gradd, yn y Wyddelaeg; yr hyn a arwydda gyfnod hwy o ddydoliad gyda golwg ar y bobl hyny. Wrth y Wyddelaeg y meddyliwyf yr iaith a lefarir yn y Werddon ac Uwchdiroedd yr Alban, yr hon sy gyfunrhyw. Eto trigolion yr Uwchdiroedd a gyfenwant eu heiddynt hwy y *Gaelaeg*, a dywedant fod y gair yn deilliaw oddiwrth *Galic*, tra nad yw, mewn gwirionedd, ond llygriad o'r Wyddelaeg, neu iaith y Gwerddoniaid. Rhyfedd y fath ddyryswch a arweiniwyd i mewn i'r pwnc hwn, drwy gamsyniad a chamarfer geiriau! Cawn yn fynych, gan ysgrifenwyr egwanbwyll, yr enwau, *Gwyddelaeg* a *Gaelaeg*, ac weithiau hyd y nod *Gwyddelaeg, Gaelaeg*, ac *Erse*, yn ddefnyddiedig er arddangos *gwahanol* ieithoedd.

a arferir pan grybwyllir am lawer neu nifer o bethau yn nghyd; megys, *gwyr*, *gwragedd*, *plant*.

Y mae dau fath o enw unig; sef, enw unig ei hunan, ac enw unig cynulledig.

Enw unig wrtho ei hun yw yr hwn na byddo cynulleidfa ynddo o herwydd synwyr; megys, *dyn*.

Enw unig cynulledig yw yr hwn y byddo cynulleidfa ynddo o herwydd synwyr; megys, *llu*, *pobl*, *torf*, *cenedl*, a'r cyfryw eiriau.

Dau ryw o enw cynulledig y sydd; sef, enw cynulledig unig, ac enw cynulledig lluosog.

Enw cynulledig unig, megys, *llu*, *torf*, *pobl*, *cenedl*; ac enw cynulledig lluosog, fel, *lluoedd*, *torfoedd*, *pobloedd*, *cenedloedd*.

Arferir hefyd weithiau yr hyn a elwir *rhif deuol*; megys, *deuddyn*, *deudroed*, &c., am y gwrrywiol; a *dwywraig*, *dwylaw*, a thrwy gamarferiad, *dwylo*, &c., am y benywol.

Enwau cedyrn yn y rhif unig a droir yn lluosog mewn dwy ffordd; sef, drwy dreigliad neu gyfnewidiad eu llafariaid, a thrwy ychwanegiad at eu terfyniadau.

Y geiriau yn arbenig a droir yn lluosog drwy dreigliad eu llafariaid, ydynt yn gyffredin rai cysefin fel y canlynol:

| *Unig.* | *Lluosog.* | *Unig.* | *Lluosog.* |
|---|---|---|---|
| Aber | Ebyr | Gwr | Gwyr (*direol*) |
| Bardd | Beirdd, a Beirddion | Maen | Main, neu Meini |
| Bran | Brain | Pont | Pynt, neu Pontydd |
| Careg | Ceryg | March | Meirch |
| Ci | Cwn (*direol*) | Marw | Meirw, a Meirwon |
| Dafad | Defaid | Troed | Traed |
| Ffon | Ffyn | Tŷ | Tai (*direol*) |

Y mae llawer o derfyniadau i droi enwau unig yn lluosog; ac yn yr hen amseroedd, pan oedd yr iaith yn ei hardderchogrwydd, arferid hwynt wrth eiriau yn gyffredin; ond yn awr yr ydys yn perthynasu y terfyniadau

at eiriau neillduol. Y terfyniadau ychwanegol ydynt y canlynol, *aint, au, awr, ed, edd, i, iaid, iau, ion, od, oedd, on, wys, ydd, yr;* yr hyn a amlygir fel hyn,

| *Terfyniadau.* | *Unig.* | *Lluosog.* |
|---|---|---|
| Aint | Gof, | Gofaint. |
| —— | Câr, | Ceraint, neu Cerynt. |
| Au | Tad, | Tadau. |
| Awr | Gwaew, | Gwaewawr. |
| Ed | Merch, | Merched. |
| Edd | Teyrn, | Teyrnedd. |
| I | Llen, | Lleni. |
| Iaid | Estron, | Estroniaid. |
| Iau | Bryn, | Bryniau. |
| Ion | Dyn, | Dynion, neu dyniadon. |
| Od | Paun, | Peunod. |
| Oedd | Mor, | Moroedd. |
| On | Golwg, | Golygon. |
| Wys | Mon, | Monwys. |
| Ydd | Heol, | Heolydd. |
| Yr | Brawd, | Brodyr, neu Broder. |

Y mae i rai geiriau derfyniad lluosog dyblyg; megys, *trefi*, a *trefydd; eglwysi*, ac *eglwysydd; llais, lleisiau*, ac unwaith *lleision*, gan Dafydd ab Gwilym.

Y Gwyndudiaid, y rhan fynychaf, a ddodant *i* o flaen *au, aid*, ac *on*, ac a ddywedant *iau, iaid*, ac *ion* ∴ eithr y Dyfedwys a adawant yr *i* hon heibio.

Rhai enwau cedyrn a gymerant eu rhif unig o'r lluosog, sef drwy ychwanegu sill at ddiwedd y lluosog, ac yn fynych cyfnewid y llafariaid hefyd; megys y canlyn:

| *Lluosog.* | *Unig* | *Lluosog.* | *Unig.* |
|---|---|---|---|
| Adar, | Aderyn. | Gwybed, | Gwybedyn. |
| Blodeu, | Blodeuyn. | Haidd, | Heidden. |
| Caws, | Cosyn. | Mawn, | Mawnen. |
| Cyll, | Collen. | Mes, | Mesen. |
| Eirin, | Eirinen. | Plant, | Plentyn. |

Y mae ansawdd bychanigrwydd i rai enwau unig a lluosog; yr hyn a ymddengys yn eu terfyniadau.

Y bychanigion o rif unig ydynt y rhai hyn, *an, en, yn, ig, og;* megys, *dynan, tanen, dernyn, oenig, pwtog.*

Ac o rif lluosog y mae y bychanigion hyn, *ach*, *os*, ac weithiau *ain;* megys, *wynach*, *dynionos*, *plantos.*

Trwy arferu *ach* yr arwyddoceir bychanolion o ddirmyg neu druenusrwydd; megys,

> Dowch, y pydron *ddynionach*,
> Ynghyd, feirw byd, fawr a bach.—Gro. Owain.

Ac *a*, *o*, *os*, *w*, *ws*, ydynt yn arwyddocau serch, mwynder, neu dynerwch; megys, *tada*, *plantos*, *minws*, *Bilws*, am *Gwilym.*

Enwau meteloedd, yn nghyda rhai pethau ereill difywyd, ydynt heb rif lluosog; megys, *alcan*, *arian*, *aur*, *efydd*, *elydn*, *elydr; bara*, *eiry*, *gwaed*, *halen*, *llaeth*, *mel*, *newyn*, *ymenyn:* hefyd, enwau cedyrn deilliedig o enwau gweinion; megys, *cryfder*, *dewrder*, *gwychder*, *haelioni*, *henaint*, *iechyd*, *ieuenctyd*, *llawenydd*, *syched*, a'r cyffelyb.

Rhai enwau ereill nid oes iddynt rif unig; megys, *rhieni*, *ymysgaroedd:* y mae hefyd rai enwau, heb newid eu rhif unig, yn ymddangos yn lluosog drwy y rhif deuol, neu eu cysylltu â rhyw nifer; megys, *deuddyn*, *dwyfron*, *trimis*, *wythwraig*, *pedwar-ugeinwr.*

Pan fyddai gair Lladin yn dechreu â'r llythyren *v*, arferai yr hen Frutaniaid yn fynych droi y *v* i *gw;* megys, *vagina*, *gwain; vitium*, *gwyd; vicia*, *gwyg; viri*, *gwyr; virtus*, *gwyrth; vacuus*, *gwag; Wilhelmus*, *Gwilym; vitrum*, *gwydr; verus*, *gwir; viduus*, *gweddw; Venus*, *Gwener* a *Gwen*, &c.

### Adran 3.—*Am Achos Enw.*

Achos neu gwympod enw, mewn amryw ieithoedd, ydyw ei wahanol derfyniadau, neu ei ddiweddiadau dychweledig; yr hyn sydd yn dangos ei gysylltiad neu ei

berthynas â phethau ereill: eithr yn y Gymraeg, megys yr Hebraeg, nid oes i enw ond dau derfyniad cwympedig, sef un yn y rhif unig, ac arall yn y rhif lluosog; gan hyny cyflawnir y cyfryw achosion drwy gynorthwy arddodiadau. Os haerir fod achosion yn perthyn i enw Cymreig, yna perthynant hefyd i barwyddiaid, goreiriau, cysylltiadau, arddodiadau, a chyfryngiadau, yr hyn sydd afresymol i'w ddywedyd; o herwydd treiglir hwynt oll yn yr un dull, oddigerth y rhif. Ac ni ddylid llunio achosion newyddion i unrhyw iaith, er mwyn efelychu ereill a'u meddant, ond yn hytrach cadw y rhai a ofyn ansawdd y cyfryw iaith.

---

## PENNOD II.

### ADRAN 1 —*Am Enw Gwan.*

Enw gwan, neu ansawdd damweiniol cadernyd, a elwir felly o herwydd na ddichon sefyll drwyddo ei hun, ac am ei fod yn air na wna synwyr perffaith heb ei gysylltu â rhyw enw cadarn yn gyneiliad iddo; megys, *cam, cryf, cymhwys, doeth, du, gwyn;* pa gyfryw eiriau a ddangosant ryw, ansawdd, ac anian yr enw cadarn: megys pan ddywedir *dyn,* ni wyddys pa un ai gwrryw ai benyw, ai teg ai hagr, ai mawr ai bach, ai byw ai marw, ydyw; ond pan ddoder at *ddyn* yr ansawdd damweiniol, dywedir *dyn da, dyn drwg, dyn doeth, dyn cadarn,* a'r cyfryw, fel y byddo ei anian a'i ddamwain; ac wrth hyny y gwybyddir pa ryw neu fath o ddyn a fydd.

Gellir adnabod enw gwan drwy ei fod yn gwneud llawn synwyr pan ychwaneger y gair *peth* ato; megys, peth *da,* peth *drwg:* ond pe dywedid, peth *nef,* peth

*daear,* ni fyddai yn un synwyr; gan hyny, *da, drwg,* ydynt enwau gweinion; a *nef, daear,* enwau cedyrn.

## ADRAN 2.—*Am Genedl Enw Gwan.*

Tair cenedl a berthynant i enw gwan; sef, gwrrywiol, benywol, a chyffredin.

Y genedl wrrywiol yw ansawdd perthynol i wrryw; megys, *gwr doeth.*

Y genedl fenywol yw ansawdd perthynol i fenyw; megys, *gwraig ddoeth.*

Y genedl gyffredin yw yr ansawdd a gydweddo â gwrryw neu fenyw; megys, *hardd;* o herwydd gellir dywedyd *gwr hardd,* neu *gwraig hardd;* gan hyny y mae *hardd* yn gyffredin i bob un o'r ddau.

Deillia cenedl fenywol enw gwan o'r wrrywiol:

Yn gyntaf, drwy gyfnewid y gydsain wreiddiol i un oresgynol; megys, *mab da, merch dda.*

Yn ail, y mae lluaws o enwau gweinion cysefin yn arwyddo rhywogaeth wrth y llafariaid a fyddo ynddynt, er cyduno âg enw cadarn, o ba genedl bynag y byddo; a throir rhai o honynt o un genedl i arall drwy gyfnewid eu llafariaid yn unig; megys, *hyll, hell;* neu drwy gyfnewid y gydsain wreiddiol a'r llafariad hefyd; megys, *baich trwm, iau drom.*

Yma y canlyn y cyfryw enwau gweinion ag a oddefant gael eu cyflunio i fod yn wrrywiol a benywol:

| *Gwrryw.* | *Benyw.* | *Gwrryw.* | *Benyw.* | *Gwrryw.* | *Benyw.* |
|---|---|---|---|---|---|
| Blwng | Blong | Gwydn | Gwedn | Mwll | Moll |
| Brwnt | Bront | Gwymp | Gwemp | Pwl | Pol |
| Brych | Brech | Gwyn | Gwen | Rhwth | Rhoth |
| Bychan | Bechan | Gwyrdd | Gwerdd | Swr | Sor |
| Clyd | Cled | Hyll | Hell | Swrth | Sorth |
| Crwm | Crom | Hysb | Hesb | Sych | Sech |
| Crwn | Cron | Llwm | Llom | Syth | Seth |
| Chwyrn | Chwern | Llyfn | Llefn | Trwm | Trom |
| Dau | Dwy | Llym | Llem | Twn | Ton |
| Ffwch | Ffoch | Melyn | Melen | Tyn | Ten |

Geiriau yn y genedl gyffredin nid ydynt yn cyfnewid eu cydseiniaid na'u llafariaid, fel y gwelir wrth y rhai canlynol:

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| anhydyn | ffol | hael | hylon | ir | serfyll |
| cyndyn | ffrom | hardd | hylyn | noeth | sicr |
| erchyll | gwych | hydyn | iach | oer | tywyll |

Er hyny dywedodd y Prydydd, *tywell.*

Nid oes cenedl yn perthyn i enwau gweinion cyfansoddedig; gan hyny dodir hwynt yn gyfymlyn âg enwau cedyrn o bob cenedl.

Cyfansoddir enwau gweinion cysefin yn nghyd ag enwau galwedig, i lunio enwau galwedig cyfansawdd; megys, *gwynlliw, oernant, gwangalon.*

### ADRAN 3.—*Am Rif Enw Gwan.*

Y mae i rai enwau gweinion rif lluosog megys yr enwau cedyrn.

Enw gwan o'r rhif unig a dreiglir yn lluosog mewn dwy ffordd:

Yn gyntaf, drwy gyfnewid y llafariaid; megys, ***balch, beilch; hardd, heirdd.***

Yn ail, enwau gweinion cysefin, oddigerth dau neu dri y treiglir eu llafariaid, a droir yn lluosog drwy ddodi wrthynt y terfyniadau *on*, neu *ion;* megys, ***crin, crinion; hael, haelion:*** ac hefyd, weithiau, bob un o'r ddwy ffordd; megys, ***marw, meirw, meirwon.***

Canfyddir yr amrywiol ddulliau o luosogi enwau gweinion fel y canlyn:

| *Unig.* | *Lluosog.* | *Unig.* | *Lluosog.* | *Unig.* | *Lluosog.* |
|---|---|---|---|---|---|
| **Byddar** | **Byddair** | **Garw** | **Geirwon** | **Tlws** | **Tlysion** |
| **Buan** | **Buain** | **Llaes** | **Lleision** | **Sal** | **Salion** |
| **Bychan** | **Bychain** | **Llydan** | **Llydain** | **Tlawd** | **Tlodion** |
| **Cadarn** | **Cedyrn** | **Main** | **Meinion** | **Trist** | **Tristion** |
| **Cam** | **Ceimion** | **Noeth** | **Noethion** | **Truan** | **Truain** |
| **Dall** | **Deillion** | **Oer** | **Oerion** | **Trwm** | **Trymion** |

*Byddariaid* a *deilliaid* ydynt, yn hytrach, enwau cedyrn.

Yr enwau gweinion canlynol ydynt heb rif lluosog iddynt: *cyndyn, da, erchyll, ffiwch, glân, hagr, hen, hydyn, nerthol, serfyll, tywyll;* er hyny rhaid addef i'r Beirdd ddywedyd, *cyndynion, erchyllion, henion, hyllion,* a *tywyllion:* hefyd y rhai oll a derfynant yn *aid, llyd,* ac *us.* Hefyd rhifedi rhestrol; megys, *cyntaf, ail, trydydd:* hefyd prif rifedi; megys, *un, dau, tri;* pa rai yn eu ffurf cyfansawdd ni feddant luosogaeth, er y gall eu henwau cedyrn, ar yr un pryd, fod yn lluosog; megys, *tri wyr:* eithr pan fyddant yn neillduol, y mae iddynt oll rif lluosog; megys, *unau, trioedd, degau, ugeiniau, cannoedd, miloedd,* &c.

Anaml yr ymddengys enw gwan cyfansoddedig yn y rhif lluosog, oddieithr i harddu iaith brydyddol; ac yno y saif yn nghyda chadarn, neu cymer ei le; megys, *nefolion leoedd,* neu *nefolion.*

## ADRAN 4.—*Am Derfyniadau Enwau Gweinion Cyfansoddedig.*

Enwau gweinion, neu ansoddau damweiniol, tarddedig oddiwrth eiriau cedyrn, a gyfansoddir fel hyny, drwy ychwanegu atynt amryw derfyniadau perthynol. Y terfyniadau hyn a ddangosant bob un o honynt ryw ystyr arbenig, o arfer pa rai y cyflunir yr ansoddau a nodweddant, yn amrywiol; fel y canlyn:

| *Terfyniadau.* | *Cynllun.* | *Terfyniadau.* | *Cynllun.* |
|---|---|---|---|
| Aid | Euraid | Gar | Gwingar |
| Aidd | Mabaidd | Ig | Blysig |
| Ain | Prydain | In | Priddin |
| Awg, neu og | Boliawg | Ing | Cadelling |
| Awl, neu ol | Gwrawl | Lawn, neu lon | Heddychlawn |
| Awr | Geiriawr | Lyd | Gwaedlyd |
| Edig | Dysgedig | Llyd | Gwenwynllyd |
| Fawr | Clodfawr | Us | Hapus |

Dalier sylw, nad ydynt derfyniadau ansoddeiriau un amser yn dechreu â chydsain, ond â llafariad; megys, *awg*, neu *og; awl*, neu *ol; us*, &c. Eto myn diffynwyr yr hen drefniant o lythyrenu geiriau ddwy *p* yn *hapus*, a'r cyffelyb, a byddent yn *an*hapus hebddynt. Ond ni ddeil eu gair *hap-pus* hwynt ei ddadgymalu: *hap* a adwaenom, ond beth yw *pus?* pa iaith? Pe byddai dwy *s* ynddo, gair Seisonig fyddai am *gath;* ond âg un *s*, gair Lladin yw am *grawn briw*, neu *darddiant poethell.* Am hyny cloer *pus*, a'i gyfeillion annghyfiaith, yn ngharchar *Oeth* ac *Anoeth*,* neu ryw gyfarchwel cyffelyb, fel na flinont enwau gweinion mwyach.

Gellir cyfansoddi y terfyniadau hyn yn mhlith eu gilydd, fel y cyflunir ansawdd arbenig y rhagflaenol gan yr olaf; megys y canlyn:

| | | | |
|---|---|---|---|
| Awg-aidd | Taeogaidd | In-awl | Gerwinawl |
| Awg-awl | Cymydogawl | Lawn-us | Boddlonus |
| Edig-awl | Caredigawl | us-aidd | Trefnusaidd |
| Fawr-us | Clodforus | us-awl | Iachusawl |

Enwau cedyrn a derfynant yn *nt*, pan dreiglir hwynt i enwau gweinion, a gyfnewidiant y *t* i *n;* megys, *braint, breinniol; chwant, chwannog; haint, heinnus.*

ADRAN 5.—*Am Raddau Cymharol Enwau Gweinion.*

Geiriau gweinion a gymerant gymhariad graddol; eithr geiriau cedyrn nis cymerant.

---

* Gellir amgyffred pa beth a feddylir wrth yr ymadrodd uchod drwy sylwi ar y TRIOEDD canlynol :—"Tri theulu teyrnedd a ddygid yn ngharchar o'r gorhendaid i'r gorwyrion, heb adu yn nianc un o honynt: cyntaf, teulu Llyr Llediaith, a ddygid yn ngharchar hyd yn Rhufain gan y Caisariaid; ail, teulu Madawg ab Medron, a fuynt yn ngharchar gan y Gwyddyl Ffichti yn yr Alban; trydydd, teulu Gair ab Geirion arglwydd Geirionydd, gan raith gwlad a chenedl, yn ngharchar OETH ac ANOETH: *ac odd y rhai hyny nac un nac arall o honynt yn nianc; a llwyraf carcharu a wybuwyd erioed a fu ar y teuluoedd hyny.*"

Cymhariad graddol yw mwyhad neu leihad yr enw gwan yn ei synwyr a'i ansawdd; megys y dywedir, un peth sydd *hardd,* arall yn *harddach,* ac arall yn *harddaf* oll.

Cymhariaeth enw gwan, neu ansawdd damweiniol, a ddichon fod mewn tair ffordd amryfal; sef, yn gyntaf, drwy gynorthwy goreiriau addasol o flaen yr enw gwan yn ei gyflwr cyntefig; yn ail, drwy gysylltu arddodiaid âg ef; ac, yn drydydd, drwy ddodi wrtho amryfeilion derfyniadau.

Tair gradd cymhariad sydd; sef, y gysefinradd, y ganolradd, a'r uchelradd.

Y gysefin, neu y wastadradd, yw y gair yn ei synwyr cyntaf er amlygu cyflwr neu ansawdd rhyw wrthddrych, heb fwyhad neu leihad; megys, *da, drwg, teg, doeth.*

Y ganolradd, neu radd gymharol, sydd yn chwanegu neu yn lleihau y gair cysefin mewn arwyddocad yn uwch neu îs, gwell neu waeth; megys, *gwell, gwaeth, tecach, doethach.*

Yr uchelradd, neu y radd eithaf, yw yr hon y byddo synwyr mwyaf neu leiaf enw gwan ynddi, ac ni ellir ei helaethu; megys, *goreu, gwaethaf, tecaf, doethaf.*

Y terfyniadau a arwyddocant raddau cymhariad ydynt *ed, ach, af.* Y cyntaf a ddengys gystadledd; y nesaf, cymharol fwyhad neu leihad; yr olaf a ddengys radd oruchel y cyfryw ansawdd ag a fyddo yn y radd gysefin.

Cynifer o eiriau ag a gadwant lythyrenau gwreiddiol y wastadradd, ac a derfynant gyd ag *ach* yn y ganolradd, a elwir cymhariaid rheolaidd; fel y canlyn:

| *Cysefinradd.* | *Cystadledd.* | *Canolradd.* | *Uchelradd.* |
|---|---|---|---|
| Anwyl, | Anwyled, | Anwylach, | Anwylaf. |
| Byr, | Byred, | Byrach, | Byraf. |
| Cas, | Cased, | Casach, | Casaf. |
| Haelionus, | Haelionused, | Haelionusach, | Haelionusaf. |
| Main, | Meined, | Meinach, | Meinaf. |
| Pell, | Pelled, | Pellach, | Pellaf. |

At y rhai hyn y gellir ychwanegu y terfyniad *aidd*, yr hwn hefyd sydd yn dynodi cymhariaeth; megys, *mwynaidd*, *tlodaidd*.

Y mae yr enwau gweinion *da*, *drwg*, *hir*, *mawr*, *bach*, *hen*, *ieuanc*, o herwydd eu bod yn dra chynefin, yn cael eu cymharu yn gyffredin mewn dull afreolaidd, ac yn ffurfio cystadledd, rai o honynt, oddiwrth y gysefinradd, fel y canlyn:

| *Cysefinradd.* | *Cystadledd.* | *Canolradd.* | *Uchelradd.* |
|---|---|---|---|
| Da, | Daed, | Gwell, | Goreu. |
| Drwg, | Dryced, | Gwaeth, | Gwaethaf. |
| Hir, | Hired, | Hwy, | Hwyaf. |
| Ieuanc, | Ieuanged, | Iau, neu ieuangach, | Ieuaf, neu ieuangaf. |

Ereill o'r ganolradd; megys,

| *Cysefin.* | *Canolradd.* | *Cystadledd.* | *Uchelradd.* |
|---|---|---|---|
| Agos, | Nes, | Nesed, | Nesaf. |
| Allan, | —— | —— | Eithaf. |
| Bach, | Llai, | Lleied, | Lleiaf. |
| Buan, | Buanach, neu cynt, | Buaned, neu cynted, | Buanaf, neu cyntaf |
| Diwedd, | (*enw cadarn*) | —— | Diweddaf. |
| Hawdd, | Haws, | Hawsed, | Hawsaf. |
| Hen, | Hyn, | Hyned, | Hynaf. |
| Isel, | Is, | Ised, | Isaf. |
| Llawer. | Mwy, | —— | Mwyaf. |
| Llydan, | Lled, neu lletach, | Lleted, | Lletaf. |
| Mawr, | Mwy, | —— | Mwyaf. |
| Uchel, | Uwch, neu uch, | Uched, | Uchaf. |
| —— | Trech, | Treched, | Trechaf. |

Er hyny, canodd SION TUDUR, yr hwn a flodeuodd o gylch y flwyddyn 1580, fel hyn,

Na âd drachwant yn *drechach*.

Ac y mae y gair yn arferedig yn dra mynych felly yn yr oes hon, er nad ydyw warantedig yn y dull dyblyg hwn yn ol rheolau Grammadeg.

Y geiriau *llawer* a *mawr*, a arferant *cymaint* er arwyddocau cystadledd.

Perthyn hefyd i'r Gymraeg,* megys yr Hebraeg, fath o uchelradd led hynod, yr hon a ffurfir drwy ddyblygu y gysefinradd, er mwyn, fel y dywed y dysgawdwyr Hebreaidd, dynodi rhagoroldeb yr uchelradd; megys, "*Drwg, drwg*, medd y prynwr," &c. Diar. xx. 14. Dyblygir goreiriau yn yr un modd; megys, "O fesur *ychydig* ac *ychydig* y gyraf hwynt allan o'th flaen di," &c. Exod. xxiii. 30. "Y dyeithr a fyddo yn dy fysg a ddring arnat yn *uchel, uchel*; a thi a ddisgyni yn *isel, isel*." Deut. xxviii. 43.

---

* Yr enw *Cymry* sydd yn deilliaw oddiwrth ddau air, sef *Cyn* a *Bro*, y rhai a arwyddant breswylwyr cyntaf gwlad; ac a fabwysiadwyd gan y bobl hyn, naill ai o blegyd eu blaenoriaeth haniad o feibion Noah, neu ynte eu bod y genedl gyntaf a gyfanneddodd yn Ewropa. Y rhanau cyfansoddol hyn, drwy gyfundeb cynhenid i'r iaith, a ffurfiant y gair *Cynmro*, neu *Cymro*, yn ei rif lluosog *Cymry*, o ba un y lluniodd y Groegiaid eu *Kimmerioi*, (cyfenwad gan hyned ag amser Homer,) a'r Rhufeiniaid, gyda mwy o gywirdeb, eu *Cimbri*. Gelwir y *Cimbri* hefyd, gan wahanol awduron, yn *Gomari*, *Gomeræi*, a *Gomeritæ*, wrth yr un rheol ag a ofyn i'r gair *Cymry* gael ei ysgrifenu yn achlysurol *Gymry*, yn ol y llywodraeth a fedd y gair blaenorol arno; ac oddi yma y dychymygodd rhai ysgrifenwyr, yn gyfeiliornus, i'r *Cimbri*, neu y *Cymry*, gael eu galw felly oddiwrth *Gomer*. Yn mhlith ereill ag a syrthiasant i'r amryfusedd hwn, gellir rhestru y diweddar Barch. E. Davies, awdwr deallgar y *Celtic Researches*, tu dal. 124, lle y barna efe "nad ydynt y *Cymry*, neu *Cimmerii*, ddim amgen na *Gomerii*." Eithr, er fod *C* yn myned yn *G* drwy gyfnewidiad naturiol, nid ydyw y llythyren a grybwyllwyd olaf byth yn troi i'r flaenaf. Y diweddar Fardd awengamp cyhoeddglod Iolo Morganwg, mewn nod yn nghwr y 7fed tu dal. o'r ail gyfrol o'i delyn-gathlau Seisonig anefelychadwy, yn dra phriodol, a eilw hwn yn "ddychymyg penchwiban a gwreiddyn disail," megys y mae hwnw hefyd a olrheinia y gair oddiwrth *Camber*, un o wroniaid ffugiol Galffrai o Fynwy. Eithr y mae y cyfiaethyddion Seisonig, ysgwaetheroedd! yn ymbellhau yn fwy fyth oddiwrth y nod. Un o honynt a ddywed i ni i'r *Cimbri* gael eu galw felly o blegyd eu tueddiadau rhyfelgar; ac arall, fod y gair yn deilliaw oddiwrth "*kym*, un o'r geiriau Celtaidd hynaf, yn arwyddocau *mynydd*."

Y goreiriau a arferir i ddangos graddau cymhariad ydynt, *cy, cyf, gan, go, lled, mor, mwy, tra;* megys, *cyhyd, cyfuwch, gan gystal, lled dda, mor dirion, mwy tirion, tra mawr.*

Rhai heb un blaenddod a derfynant yn *ed,* i ddangos rhyw ragoroldeb; megys,

> Haul ydyw o hoyw loywder!
> *Frithed* ei siaced o ser!—*Cywydd y Drindod.*

Y mae y llythyrenau *b, d,* a *g,* pan fyddant yn niwedd y wastadradd, yn cyfnewid yn y ganolradd a'r uchelradd i *p, t,* a *c;* megys, *cyffelyb, cyffelypach; caled, caletach; tebyg, tebycach:* hefyd, *tlawd, tlotàch; rhaid, rheitiach.* Ond ni arferir hyn bob amser gan y Beirdd.

Y mae rhai enwau gweinion na chymerant gymhariad; megys, *amserol, marwol, terfynol,* &c. Y mae amryw eiriau cymharol heblaw y rhai uchod, a arferir i eglurhau pethau yn ol helaethder y meddwl; megys, "A bydd y fory *megys* heddyw, a *mwy o lawer iawn.*"

Goreiriau ffurfiedig oddiwrth enwau gweinion, a ddeuant yn gyfryw drwy osod *yn* gyfarwyneb â'r enwau gweinion, yr hyn sydd yn cyfnewid eu cydseiniaid dechreuol i'w sain feddal ac esmwyth; megys, *da, yn dda; mwyn, yn fwyn.*

## ADRAN 6.—*Dosparth yr Awgrymau.*

Yn y flwyddyn 1820, gwnaed ymbrawf teg, gan y diweddar Barch. JOSEPH HARRIS o Abertawy, er diwygio trefn sathredig, eto trosgl, ein rhifyddiaeth, drwy ymddangosiad llythyr o'i eiddo ar y pwnc yn y rhifyn am Ebrill o *Seren Gomer;* a chan fod ei ddull yn aneithradwy, a'i resymau drosto yn anhydor, barnwyf mai nid anfuddiol fydd eu cyfleu yma, fel y delo ar arfer mwy cyffredinol. Efe a ragnoda fel y canlyn:

"Addefir fod godidawgrwydd iaith yn gynnwysedig mewn rhan fawr yn anamledd y llythyrenau a'r geiriau gofynol i osod allan amgyffredion y meddwl; ond syndod i mi bod cynifer o eiriau afreidiol yn cael eu defnyddio i egluro rhifnodau yn y Gymraeg, tra y mae y Saeson, ac ereill, yn mynegu yr unrhyw â llawer llai o eiriau, wedi myned unwaith dros ddeg. Anghraifft:

| SAESNEG. | CYMRAEG. |
|---|---|
| 12 Twelve, (un sill.) | Dau ar ddeg, (3 sill.) Bai erchyll yw galw *deuddeg* ar 12. |
| 13 Thirteen | Tri ar ddeg. |
| 39 Thirty nine, (3 sill.) | Pedwar ar bymtheg ar ugain! (8 sill) |
| 99 Ninety nine, (eto.) | Pedwar ar bymtheg a phedwar ugain!! (10 sill.) |
| 199 Hundred ninety nine, (5 sill.) | Pedwar ar bymtheg a phedwar ugain wedi 'r cant!!! (13 sill.) |

"Dirfawr wahaniaeth! Dichon y Sais rifo mil, yn araf deg, cyn y gallo Cymro, er brysio, ddyfod i ben a'i 400! A gwahaniaeth hollol ddiraid ydyw; gellir rhifo o un i gant mor fyr yn y naill iaith a'r llall; ac o un cant uchod yn fyrach yn Gymraeg nag yn y Saesneg. Os dichon y Sais ddweyd 4 a 12 *(four and twelve)* yn fyrach na'r Cymro, eto dichon yr olaf fynegu 7 ac 11 *(seven and eleven)* yr un gymaint yn fyrach na'r blaenaf:—wedi rhifo hyd 10, yn y modd arferol, rhifwch fel hyn:—11, deg un—12, deg dau, ac felly hyd 19, deg naw; h. y. deg a naw—yna 20, deuddeg—21, deuddeg un—22, deuddeg dau, ac felly hyd 29, deuddeg naw; ac yna, 30, trideg—40, pedwardeg—50, pumdeg—60, chwedeg—70, seithdeg—80, wythdeg—90, nawdeg—100, cant—139, cant trideg naw—599, pumcant nawdeg naw. Yn y modd hyn y rhifa y Saeson; nid yw eu *twenty, thirty, forty, fifty,* &c., ond *two*

*tens, three tens, four tens, five tens,* &c., wedi eu harallu; *thirty one* yw *three tens one,* neu drideg un, sef, trideg *ac* un, os mynech lefaru yn llawn, megys *thirty and one* yn *llawn,* yn y Saesneg. Hyd yma y mae'r Cymro yn gydradd â'r Sais; ond wedi myned at gant, y mae mantais o un sill gan y Cymro yn mhob rhif oddiyno i fil; ac o fil yn y blaen, fantais o ddwy sill yn mhob rhif, oblegid bod dwy sill mewn *hundred* ac mewn *thousand,* a dim ond un mewn *cant* a *mil.*

"Hefyd, os dilynir y drefn a gynnygir yn awr, bydd i olwg arwynebol o'r rhifnodau, megys yn y Saesneg, roddi geiriau addas yn ngenau y rhifwr i'w darlunio; canys os bydd tair rhifnod, y mae y flaenaf o'r tair yn gant, neu gantoedd, yr ail yn ddeg, neu ddegau, a'r olaf, yr hyn sydd dros ben y degau;. megys, 121, *hundred twenty (two tens) one,* 'cant deuddeg un.'—347, *three hundred forty (four tens) seven,* 'tri chant pedwardeg saith.'—577, *five hundred seven tens seven,* 'pumcant seithdeg saith;' h. y. 5 o gantoedd, 7 o ddegau, a 7 yn ychwaneg. Gwelwch mor amlwg y mae y rhifnodau yn egluro eu hunain; eithr sylwch ar y tri rhifnod olaf, (er anghraifft,) sef, 577, a darluniwch hwy yn ol yr hen ffordd; sef, 'pumcant a dau ar bymtheg a thrugain;' y mae yn gofyn i wr fyned i fyfyrio tipyn cyn cael allan y dirgelwch: nid oes un o'r rhifnodau, ond y cyntaf, yn ei gynnorthwyo. Yn 577 gwelir pumcant yn amlwg, eithr nid oes yma na *dau* na *phymtheg,* nac un *ugain,* chwaithach *tri ugain!*"

Onid ydynt yr ystyriaethau blaenorol yn ddigon i beri i bawb lwyr ymwrthod â'r *hen drefn;* a rhyfeddu na buasid wedi dynoethi ei gwrthuni, a hyny yn effeithiol, cyn ei eni ef?

Eto, er dangos nad oeddynt ein hynafiaid mor anwybodus yn nghelfyddyd rhifyddiaeth ag y gallai ambell un

farnu eu bod wrth y drefn ledchwith bresennol, rhoddaf yma yr hyn a fenthyciwyd o hen lyfr, ysgrifenedig yn nghylch y flwyddyn 1300, gan HOPCIN THOMAS AB EINION *Offeiriad*, o Ynys Tawy.

"Tair awgrym gwybodau a fuont ar arfer o'r dechreuad gan genedl y Cymry.

"Cyntaf o'r tair herwydd braint a bonedd yw awgrym gair ac ymadrodd, sef llythyr.

"Ail awgrym, erddigan, sef goslef ac arwest.

"Trydydd awgrym, rhif, ac fel hynn y mae:

"Un, dau, tri, pedwar, pump, chwech, saith, wyth, naw, deg—unneg ac un, unneg a dau, unneg a thri, unneg a phedwar, unneg a phump, unneg a chwech, unneg a saith, unneg ac wyth, unneg a naw, deuneg—ac fal o'r blaen hyd trineg, pedryneg, pumneg, chweneg, seithneg, wythneg, nawneg, cant—ac hyd fil, ac o hynny hyd geugant, neu anfeidredd. A chyfrinach yw cadwedig ar lafar Gorsedd Beirdd Ynys Prydain, o'r dechreuad; a Thydain Tad Awen a'i trefnes gyntaf yn gelfyddyd fannog ar wybodau doethineb."

---

## PENNOD III.

### ADRAN 1.—*Am Ragenw.*

Rhagenw sydd air a ddodir weithiau yn lle enw, er rhagflaenu ail adroddiad o'r un gair mewn ymadrodd; megys, Y mae y dyn yn wynfydedig, y mae *efe* yn garedig, y mae *efe* yn ddefnyddiol.

Rhagenw ydyw pob peth a arwyddocao ddynweddiad, pa un bynag ai dynsawd, neu hanfod, neu ddirprwy a fyddo; a phob peth a arwyddocao feddiant, neu ymofyn.

Rhagenwau a ddosparthir yn ddau fath; sef, rhagenwau cedyrn, i ba rai y perthyn rhif, person, a chenedl; a rhagenwau gweinion.

Dau rif sydd i ragenwau, fel i enwau; unig, megys *mi;* lluosog, megys *chwi.*

Yn mhob rhif y mae tri dynsawd, neu berson; megys, *myfi, tydi, efe; nyni, chychwi, hwynt-hwy.*

Tair cenedl sydd i ragenwau yn y trydydd dynsawd, unig a lluosawg; gwrryw, megys *hwn;* benyw, megys *hon;* a chyffredin, megys *hyn.*

Y rhagenwau dynweddiadol, sef a arwyddocant ddynsawd, neu ddynoldeb, ydynt y rhai canlynol:

| *Dynsawd cyntaf unig.* | *Dynsawd cyntaf lluosog.* | *Ail ddynsawd unig.* | *Ail ddynsawd lluosog.* |
|---|---|---|---|
| Mi, fi, i, ym. | Ni. | Ti. | Chwi. |
| Myfi. | Nyni. | Tydi. | Chychwi. |
| Minau. | Ninau. | Tithau. | Chwithau. |
| Myfinau. | Nyninau. | Tydithau. | Chychwithau. |

| *Trydydd dynsawd unig.* | *Trydydd dynsawd lluosog.* |
|---|---|
| Efe, ef, hi. | Hwynt, hwy. |
| Fe, e, hyhi. | Hwnt-hwy, |
| Fo, o, hithau. | Hwythau, |
| Efo, yntau, hyhithau. | Hwyntau. |

Oddiwrth y rhagenwau gwahanredol a chyfain, y crybwyllwyd uchod am danynt, y tarddant ragenwau anesgarawl a chysylltiedig, y rhai a gyfenwir genym ni, megys yr Hebreaid, *rhagenwau cynglyn;* megys *f,* oddiwrth *fi,* yn *ataf, genyf, ynof; t,* oddiwrth *ti,* yn *atat, genyt, ynot; o,* neu *aw,* oddiwrth *efo,* yn *ato, ganddaw, ynddaw; i,* oddiwrth *hi,* yn *ati, ganddi, ynddi; ch,* oddiwrth *chwi,* yn *atoch, genych, ynoch; ynt,* oddiwrth *hwynt,* yn *atynt, ganddynt, ynddynt; m,* oddiwrth *ni,* yn *atom, genym, ynom.*

Cymerir achlysur yma, unwaith eto, i sylwi ar yr hen drefniant o lythyrenu geiriau, a chyda hyny addunedir yn gydwybodol na ofwyir ei noddwyr mewn barn mwy-

ach, o leiaf y chwyl hon. Haerant hwy y dylai fod dwy *t* yn *atoch, atynt,* &c. Dymuner arnynt ddadglymu y ddeuair hyn o'u llythyraeth eu hunain, a'u rhanu yn sillau, i weled pa synwyr a geir yn eu gwreiddiau. Wele! dyma hwynt: *at-toch, at-tynt.* Yr ydym yn cyfaddef fod *at,* y sill gyntaf, yn Gymraeg loyw,—"Af *at* droed y Wyddfa." Nid *att* droed na phen. Ond beth yw ystyr *toch* a *tynt?* Beth bynag ydynt, nid Cymry na Chymraeg ydynt. Gofyner i ddiffynwyr y trefniant newydd silliadu *atoch, atynt,* ac egluro eu rhanau. *Hwy* a allant wneud hyn yn esmwyth:—*atoch, at-chwi; atynt, at-hwynt.* Dyma Gymry glân, diledryw. Bydded pawb a garant gyweiriaith ar eu gwyliadwriaeth rhag cael eu harwain ar ddigrain gan yr hudlewynau Deheubarthig mawrion.

## ADRAN 2.—*Am Ragenwau Perthynasol.*

Rhagenwau gweinion yn arwyddocau perthynasiad, neu ragenwau yr ansawdd damweiniol, ydynt amrywiol; sef, meddiannol, dangosiadol, perthynol, ymofynol, ac annherfynol.

Y rhagenwau meddiannol, sef a arwyddocant feddiant, neu berchenogaeth, a adnabyddir fel y canlyn:

| | | *Unig.* | *Lluosog.* |
|---|---|---|---|
| *Dyn-sawd* | 1 | My, fy, ym, mau, eiddof. | Ein, einom, einym, eiddom. |
| | 2 | Dy, yth, eith, tau, eiddot. | Eich, ych, eiddoch, eiddych, iwch |
| | 3 | Ei, eiddo, eiddi. | Eu, u, eiddynt. |

Gyda rhagenwau meddiannol y gellir dodi *hun* a *hunan,* yn y rhif unig; a *hunain,* yn y lluosog; a gallant, yn y ddau ansawdd, ganlyn y rhagenwau dynweddiadol; megys, *mi fy hun, mi fy hunan; ni ein hunain.*

Y mae *ym, ein, eich,* yn aml iawn yn bwrw eu llafariaid ymaith; ac, yn ol arfer Gwynedd, troir *ei* yn *i;* ac

ar ol yr arddodiad *i*, newidir *ei*, yn ddireol, i *w*; megys, *i'w*, yn lle *iddei*; ac arferid *wy* yn fynych gynt.

### ADRAN 3.—*Am Ragenwau Dangosiadol.*

Y rhagenwau dangosiadol ydynt yn nodi allan yn gymhwys y gwrthddrych am yr hwn y traethir mewn ymadrodd, ac ydynt y rhai canlynol:

| *Unig.* | *Lluosog.* |
|---|---|
| Hwn, *g.* hon, *b.* hyn, *c.* | Y rhai hyn, y rhai yma. |
| Hwnyma, honyma, hynyma. | Y rhai hynyma. |
| Hwna, hona, hyna. | Y rhai hyna, yna. |
| Hwnyna, honyna, hynyna. | Y rhai hynyna. |
| Hwnacw, honacw, hynacw. | Y rhai hynacw, acw. |
| Hwnw, hono, hyny. | Y rhai hyny. |

### ADRAN 4.—*Am y Rhagenwau Perthynol.*

Y mae dau ryw o ragenwau perthynol, neu ddosparthiadol; sef, y rhai cyfeiriol, neu a atebant i ryw beth neu ddynsawd rhagflaenol, ac a gymerant y bannodau *y* neu *yr* yn flaenorol iddynt; a rhai yn arwyddocau dosparthiad digyfeiriol, ac ymofyniad; fel y canlyn:

| | |
|---|---|
| Yr hwn, yr hon, yr hyn. | Y rhai acw, y rhai yma. |
| Yr hwna, yr hona, yr hyna. | Y rhai ereill. |
| Yr hwnw, yr hono, yr hyny. | Y naill, y naill rai. |
| Y rhai hyn, y rhai hyna, y rhai hyny. | Y llall, y lleill. |

Y rhagenwau o ddosparth digyfeiriadol, ac ymofynol, ydynt y rhai a ganlyn:—*Pa? pwy?* pa un? pa rai? pa beth? beth? mae?*

---

* O ddiffyg cydweithrediad dysgedigion i goleddu y Gymraeg fel y dylasent, y mae rhai pethau yn nhafodiaith ein cydynysyddion y Seison yn fwy rhagorol na hi, yn enwedig yn y rhagenwau canlynol; sef, *who*, *whose*, *whom*. Y tri rhagenwau hyn ydynt ddarluniadol o'r tri achosion Seisonig. *Who* ydyw yr enwedigydd, *whose* ydyw y meddiannydd, a *whom* ydyw y cyhuddolydd. Nid oes genym eiriau addas am *whose* a *whom*. Eithr erbyn gwneud y frawddeg yn gyflawn

*Pwy* a *pa* ydynt o bob cenedl a rhif; ond dealler nad ydynt bob amser yn ofynolion, eithr y maent weithiau yn annherfynol, yn enwedig pan eu cysylltir â'r gair *bynag;* megys, *pwy bynag, pa un bynag.* Hefyd, dywedir *pwy,* bob amser, pan yn cyfeirio at ddynsodau, a *pa,* gan mwyaf, pan at bethau.

ADRAN 5.—*Am Ragenwau Annherfynol.*

Rhagenwau annherfynol ydynt rai ag a osodant allan eu gwrthddrychau mewn dull anmhenodol, neu gyffredinol. Y canlynol ydynt o'r fath hyn:

| *Unig.* | *Lluosog.* | *Unig.* | *Lluosog.* |
|---|---|---|---|
| Arall | Ereill | Un | Rhai |
| Llall | Lleill | Neb | Pobrhai |
| Naill | Oll | Nebun | Nebrhai |
| Pob | Pawb | Rhywun | Rhywrai |

## PENNOD IV.

ADRAN 1.—*Am Barwyddiad.*

Parwyddiad, neu ferf, yw pob gair a arwyddocao gwneuthur, bod, neu ddyoddef, pa un bynag ai dyn, peth, neu ryw haniad a fyddo y peiriad, neu yr achosydd; a hyny gyd ag amser, modd, a dynweddiad.

Bod; megys, *ydwyf, ydwyt.* Gwneuthur; megys, *caraf, dysgaf.* Dyoddef; megys, *ef a'm dysgir, cerir fi, dysgir fi.*

Deuryw barwyddiad sydd; sef, parwyddiad rhydd, a pharwyddiad erchwynedig.

---

ni fydd y Gymraeg mor ddiffygiol ag y tybygid ar yr olwg gyntaf; megys, *Who loved?* Pwy a garodd? *Whose is the book?* Eiddo pwy yw y llyfr? *Whom do ye seek?* Pwy a geisiwch?

Parwyddiad rhydd yw prifair y byddo digon o synwyr ymadrodd ynddo ei hunan, heb wrthddrych yn gyneiliad o'i ol; megys, *cerddaf, eisteddaf, cysgaf.*

Parwyddiad erchwynedig yw gair a fyddo a'i bwys ar beth arall ar ei ol, yr hwn sydd wrthddrych iddo; megys, *gwelaf, clywaf, cyhuddaf;* i'r hyn y mae gwrthddrych, sef y *peth* a welir, a glywir, neu a gyhuddir.

Ansawdd parwyddiad sy driphlyg; sef, gwneuthurol, goddefol, a chanolig.

Parwyddiad gwneuthurol yw pob gair sydd yn mynegu gweithrediad personol, ac o anghenrhaid yn cynwys gweithredydd, a gwrthddrych y gweithredir arno; megys, *mi a garaf addysg.* Yma, y rhagenw *mi* yw y gweithredydd; *caru* yw y parwyddiad; *addysg* yw y gwrthddrych.

Pum gobenydd, neu derfyniad, parwyddiad gwneuthurol sydd; megys, *af, caraf; wn, caraswn; ais, cerais; aswn, caraswn; wyf, carwyf.*

Parwyddiad goddefol yw pob gair sydd yn mynegu goddefiad, neu dderbyniad unrhyw weithred gan arall; ac y mae o anghenrhaid yn cynwys gwrthddrych y gweithredir arno, a gwneuthurwr gan ba un y gweithredir arno; megys, *yr ydys yn fy nysgu. Addysg a gerir genyf.*

Pum gobenydd parwyddiad dyoddefol sydd; megys, *ir, e'm cerir; id, e'm cerid; wyd, e'm carwyd; esid, e'm caresid; er, e'm carer.*

Parwyddiad canolig nid yw yn mynegu na gweithred na goddefiad, ond bod, neu gyflwr o hanfodiad; megys, *ydwyf, oeddwn.*

Y mae parwyddiaid o eiriau cysefin, neu odidog; ac ereill o rai cyfansoddedig.

Gellir ffurfio lluaws o agweddiadau ar y parwyddiaid

cysefin, drwy gyfnerth math o arddodiaid rhagoriaethol a rodder wrthynt; sef, yn benaf, y rhai hyn, *dad, di, dir, dis, dy, dym, ad, go, gor, lled, tra, rhy, ym.*

Perthyn hefyd i barwyddiad rif, dynweddiad, moddau, amserau, a chyfraniadau.

### ADRAN 2.—*Am Rif a Dynweddiadau.*

Deuryw rif sydd i barwyddiad, megys i enw; sef unig a lluosog.

Yn mhob rhif y mae tri dynweddiad; sef y cyntaf, yr ail, a'r trydydd. Y cyntaf yw yr hwn a ymadroddo am dano ei hun; yr ail yw yr hwn a ymadroddo wrth arall; y trydydd yw yr hwn a ymadroddo am arall; megys,

| | *Unig.* | *Lluosog.* |
|---|---|---|
| *Dynweddiad* | 1 Myfi ydwyf. | Ni ydym. |
| | 2 Tydi ydwyt. | Chwi ydych. |
| | 3 Efe ydyw. | Hwy ydynt, |

### ADRAN 3.—*Am y Moddau.*

Modd sydd yn dangos yr amrywiol ffyrdd o dreiglo y parwyddiaid, i amlygu y dull yn mha un y mae yr hanfod, gweithrediad, neu oddefiad, yn cael ei osod allan.

Chwe modd sydd i barwyddiad; nid amgen, mynegol, gorchymynol, galluedigol, eiddunedigol, ammodol, ac annherfynol.

Modd mynegol sydd yn unig yn cyhoeddi, neu yn hysbysu, unrhyw beth; megys, *carwyf; y mae y gwynt yn chwythu:* neu y mae yn cynwys holiad; megys, *a ydyw efe yn caru? pwy a ddichon sefyll?*

Modd gorchymynol a arferir i orchymyn, annog, deisyf, neu ganiatau; megys, *bydded goleuni; câr dy Dduw; amddiffyn dy gam.*

Modd galluedigol sydd yn arwyddocau dichoniad neu

ryddid, gallu, ewyllys, neu rwymedigaeth; megys, *dichon iddi wlawio; gall fyned neu aros; mynai rodio; dylent ddysgu.*

Modd eiddunedigol sydd yn cynwys dymuniad, neu ddeisyfiad, am unrhyw beth; megys, *mynwn fy mod yn gyfoethog; carwn di, pei ym cerit; O na baent ddoethion, na ddeallent hyn, nad ystyrient eu diwedd.*

Modd ammodol sydd yn gosod peth allan dan ammod, cymhelliad, neu dyb-fwriad; a bob amser bydd *os, pe, ped,* neu ryw gysylltiad arall, yn ei ragflaenu; ac, fynychaf, bydd rhyw barwyddiad arall yn cydfyned âg ef; megys, *os da y gwnei, oni chei oruchafiaeth; os gwnei i mi gyllell, ti a geffi geiniog; mi a'i parchaf ef, pe byddai iddo fy ngheryddu.*

Modd annherfynol sydd yn gosod peth allan mewn dull cyffredinol a dirwymau, heb unrhyw wahaniaeth gan rif a dynweddiad; megys, *canu, caru, dysgu, myned, rhodio.*

Dealler mai parwyddiad annherfynol yw ffurf wreiddiol y parwyddiaid ereill, ac y mae ganddo y llafariad *i* mewn rhai ymadroddion yn arwydd o'i flaen; megys, *goleuni i oleuo y cenedloedd.*

Y mae gan y parwyddiaid, gan mwyaf, lafariaid yn derfyniadau, yn y modd annherfynol; canys grym y llafariaid yn wahanol a arwydda ymmod a gweithred. Y terfyniadau hyny ydynt *a, aw, i, u;* megys, *lloffa, adeilaw, tori, talu.*

Ond y mae rhai parwyddiaid a gymerant, yn y modd annherfynol, y terfyniadau hyn, *ed, eg, el, ain, yd, ell, yll, w.*

Er hyny yr holl barwyddiaid a ddisgynant i un dull cyffredin yn eu hamryw dreigliadau, drwy yr holl foddau ereill, a'u hamserau; fel y mae un cyfymrediad cyfunwedd, drwy dreigliadau, yn bod o hyny.

## Adran 4.—*Am yr Amserau.*

Tri amser godidog sydd i barwyddiad; sef, cynddrychiol, gorphenol, a dyfodol: ac i'w nodi yn fwy manwl, ychwanegir tri amser arall; sef, anorphenol, tragorphenol, ac ailddyfodol.

Amser cynddrychiol sydd yn gosod gweithred neu ddamwain allan, fel yn myned drosodd yn yr amser y crybwyllir am dani; megys, *dysgwyf, carwyf;* sef, *wyf yn dysgu, wyf yn caru.*

Amser gorphenol sy nid yn unig yn dangos gweithred neu ddamwain yn yr amser a aeth heibio, ond y mae hefyd yn taflu o hirbell at yr amser cynddrychiol; megys, *dysgais, cerais.*

Amser dyfodol sydd yn gosod gweithred allan megys eto i ddyfod, naill ai gyda neu heb olwg ar yr amser cywir; megys, *dysgaf, caraf.*

Y mae dau ansawdd i amser dyfodol; y cyntaf a berthyn i fodd mynegol, yr ail a berthyn i foddau cyfansoddedig; sef yr ammodol, yr eiddunedigol, a'r galluedigol.

Geill yr amser dyfodol cyntaf adrodd gweithred gynddrychiol, gan ei bod yn ddechreuol yn y gwahaniad rhyngddi ac un arall a aeth heibio; a chan hyny arferir yr amser hwn yn gyffredin i ddangos gweithred gynddrychiol y modd mynegol, pan na fydd yn ofynol dangos y cynddrychiol ar wahan oddiwrth y dyfodol; megys, *credaf yn Nuw Dad; mi a welaf,* &c. Felly, yn lled fynych, yr arferynt yr Hebreaid yr amser gorphenol, ac hefyd y dyfodol, yn lle y cynddrychiol.

Amser anorphenol sydd yn dangos gweithred neu ddamwain, naill ai fel wedi myned drosodd ac yn orphenol, neu fel yn aros yn anorphenol ar ryw amser a aeth heibio; megys, *dysgwn, carwn.*

Amser tragorphenol sydd yn gosod peth allan, nid yn unig fel wedi myned heibio, eithr hefyd fel yn blaenori rhyw ran arall o amser a enwir yn benodol yn yr ymadrodd; megys, *dysgaswn, caraswn.*

Amser ailddyfodol sydd yn dangos y cyflawn orphenir y weithred erbyn neu o flaen amser gweithred neu ddamwain arall i ddyfod; megys, *dysgof, carof; dysger, carer.*

### ADRAN 5.—*Am Gyfraniad.*

Cyfraniad, neu rangymeriad, a elwir felly am ei fod yn ddull neillduol ar y parwyddiad, ac yn dwyn ei enw oddiwrth ei fod yn cyfranogi, nid yn unig o anian a phriodoleddau parwyddiad, eithr hefyd o eiddo enw gwan.

Y mae tri cyfraniad; sef, y cynddrychiol, y gorphenol, a'r dyfodol.

Gellir gwahaniaethu cyfraniad oddiwrth enw gwan, drwy fod y blaenaf yn gosod allan y meddylddrych o amser, a'r diweddaf yn dynodi ansawdd neu gynneddf yn unig; megys,

Cyfraniad,—*yn gwneuthur*, neu *yn dywedyd, gan wneuthur.*

Enw gwan,—*gwneuthurol, dywedol.*

Dull cyffredin y cyfraniad yw arfer y cynorthwyolion *yn*, a *gwedi*, o flaen y parwyddiaid yn y modd annherfynol, am y cyfraniad cynddrychiol; ac *yn* i ragflaenu, ac *edig* yn derfyniad, am yr anorphenol; a *gwedi* i ragflaenu, am y gorphenol.

### ADRAN 6.—*Banynau a Goreiriau Cynorthwyol.*

Y mae i'r moddau cyfansoddedig, sef yr ammodol, yr eiddunedigol, a'r galluedigol, ddull y mynegol, o

berthynas i dreigliadau. Eu barbenigrwydd sydd yn deilliaw o arfer amryw eiriau cynorthwyol, sef goreiriau, y rhai a ddangosant y cyfryw ddamweiniau.

Y banynau a'r goreiriau a arferir i lunio y moddau ammodol, eiddunedigol, a galluedigol; hefyd ammodau, gofyniadau, a negyddion y parwyddiaid gweithredol a dyoddefol, ydynt y rhai canlynol:—*a—ai—neu, neud, neur, neus, ni, nis, nid—o, od, or, os—can—pan—oni, onid, onis—os ni, os nid, os nis—pe, ped, pei, pes—mal pe, mal ped, mal pes—na, nad, nas—os na, os nad, os nas—mal na, mal nad, mal nas—pe na, pe nad, pe nas—o na, o nad, o nas—y, yd, ydd, yr—mal y, mal yd, mal ydd, mal yr.*

Y banynau a'r goreiriau uchod a ddosparthir i drefnau, fel y canlyn, yn ol yr ansoddau a arwyddocant yr amrywiol foddau.

Y rhai hyn ydynt ofyniadol yn mhob modd ac amser; sef, *a, ai,* neu *neud, neur, neus.* Gofyn yn uniongyrch a wna *a,* ac hefyd arwyddocau peiriant. Arferir *ai* pan fyddo eisieu gofyniad dosparthiadol. Arferir y lleill i lunio cadarnhad.

Y goreiriau negyddol, sef *ni, nid, nis,* a arferir yn y modd mynegol.

Amrywiol ddulliau y modd ammodol a arwyddoceir gan y banynau hyn; sef, *o, od, or, os—pe, ped, pes—mal pe, mal ped, mal pes—can—pan.*

Y modd eiddunedigol a fynegir yn fynych yn null y modd gorchymynol; ac hefyd a nodweddir drwy arfer y banynau hyn; sef, *o na, o nad, o nas—na; nad, nas.*

Arwyddion y modd galluedigol ydynt y rhai hyn; sef, *y, ydd, yr—mal y, mal ydd, mal yr.*

Ond yn y modd hwn, ac yn yr eiddunedigol, pan fynir dosparth a grym i barwyddiad, cymerir ato barwyddiad cynorthwyol a allo hyny.

### ADRAN 7.—*Am Dreigliad y Parwyddiaid Cysefin.*

Er mwyn deall ansawdd parwyddiaid yn gyffredinol, dylid ystyried y cysefin, y rhai ydynt sail yr holl barwyddiaid ereill; canys, os edrychir yn fanwl, gwelir mai y parwyddiaid cysefin, wedi eu dodi yn derfyniadau wrth enwau, sydd yn llunio y parwyddiaid ereill yn mhob modd ac amser.

Ymddengys yn y parwyddiaid cysefin dri phrif ansawdd: y cyntaf a arwydda ymmod yn unig; yr ail, bod amser; y trydydd, bod dynweddiad.

Y prif ansawdd cyntaf, sef ymmod, a dardda o ystyr y llafariaid yn eu cyflwr godidog, neu arbenig; ac wrth hyn y mae amserau cysefin y parwyddiaid, sef y gorphenol, y cynddrychiol, a'r dyfodol, yn cael eu nodweddu. O blegyd hyny dylid adnabod ystyr y llafariaid, fel y perthynant at lunio y cyfryw amserau.

Ystyr y llafariad *o* ydyw ymmod allan, neu oddiwrth; a chyda ei threigliadau, *u*, *w*, ac *y*, a arferir i arwyddo pob amser gorphenol. Y llafariad *a* sydd yn arwydd o ymmod neu weithred gynddrychiol; a chyda ei threigliadau, *e* ac *ei*, a ddangosant fynediad dechreuol oddiwrth y cynddrychiol, naill ai at y gorphenol neu y dyfodol. Y llafariad *i* sydd yn arwyddocau mynediad yn y blaen i, neu i mewn; a chan hyny pob amser dyfodol.

Y parwyddiaid cysefin, a soniwyd am danynt uchod, ydynt y canlynol:—*au, addu, athu, aethu, elu, myned —bod, bu, bi, bydd—yw, ydyw, ydi, oes—oedd, ydoedd —sy, sydd—mae, ys, ydys.*

Sylwer,—anfynych iawn yr arferir y parwyddiaid cysefin yn y modd annherfynol, oddieithr *myned* a *bod*, na'u cyfraniaid ychwaith, fel y maent ar lawr uchod, oddieithr pan fyddont yn derfyniadau i barwyddiaid cyfansoddedig; am hyny rhoddir eu treigliad hwy drwy y moddau a'r amserau canlynol:

## MODD MYNEGOL.—*Amser Cynddrychiol.*

| | 1. | 2. | 3. | | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| *Unig.* | Wyf, | wyt, | yw. | *Lluos.* | Ym, | ych, | ynt. |
| | Ydwyf, | ydwyt, | ydyw. | | Ydym, | ydych, | ydynt. |
| | Elwyf, | elwyt, | elyw. | | Elym, | elych, | elynt. |

### *Amser Gorphenol.*

| | 1. | 2. | 3. | | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| *Unig.* | Bum, | buost, | bu. | *Lluos.* | Buom, | buoch, | buont. |
| | Buais, | buaist, | buodd. | | Buasom, | buasoch, | buasont. |
| | Aethym, | Aethost, | aeth. | | Aethom, | aethoch, | aethont. |

### *Amser Dyfodol.*

| | 1. | 2. | 3. | | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| *Unig.* | Byddaf, | byddi, | bydd. | *Lluos.* | Byddwn, | byddwch, | byddant. |
| | Af, | ai, | â. | | Awn, | ewch, | ant. |
| | Elaf, | eli, | el. | | Elwn, | elwch, | elant. |

### *Amser Anorphenol.*

| | 1. | 2. | 3. | | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| *Unig.* | Byddwn, | byddit, | byddai. | *Lluos.* | Byddem, | byddech, | byddent. |
| | Oeddwn, | oeddit, | oedd. | | Oeddem, | oeddech, | oeddent. |
| | Elwn, | elit, | elai. | | Elem, | elech, | elent. |

### *Amser Tragorphenol.*

| | 1. | 2. | 3. | | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| *Unig.* | Buaswn, | buasit, | buasai. | *Lluos.* | Buasem, | buasech, | buasent. |
| | Aethwn, | aethit, | aethai. | | Aethem, | aethech, | aethent. |
| | Elaswn,* | elasit, | elasai. | | Elasem, | elasech, | elasent. |

### *Amser Ailddyfodol.*

| | 1. | 2. | 3. | | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| *Unig.* | Byddof, | byddot, | byddo. | *Lluos.* | Byddom, | byddoch,† | byddont. |
| | Aof | äot, | äo. | | Aom, | äoch, | äont. |
| | Elof, | elot, | elo. | | Elom, | eloch, | elont. |

---

* Arferir hefyd, *elswn*, *elsit*, *elsai*.

† Arferir hefyd, *byddych*, *bych*, *bof*, *bwyf*, *bot*, *bo*, *boch*, *bom*, *bont*, *boent*.

## MODD GORCHYMYNOL.

| | 1. | 2. | 3. | | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| *Unig.* | Byddwyf, | bydd, | bydded. | *Lluos.* | Byddwn, | byddwch, | byddant. |
| | Awyf, | â, | aed. | | Awn, | ewch, | ant. |
| | Elwyf, | dos, | eled. | | Elwn, | elwch, | elant. |

## MODD ANNHERFYNOL.

| *Cynddrychiol.* | *Gorphenol.* | *Dyfodol.* |
|---|---|---|
| Bod, | Gwedi bod, | I fod. |
| Myned, | Gwedi myned, | I fyned. |

## CYFRANIAD.

| *Cynddrychiol.* | *Gorphenol.* | *Dyfodol.* |
|---|---|---|
| Yn bod, | Bodedig, | Bodadwy. |
| Yn myned, | Mynededig, | Mynedadwy. |

### ADRAN 8.—*Am y Parwyddiaid Cynorthwyol.*

Y parwyddiaid cynorthwyol ydynt o ddau ryw; sef, y dynweddiadol a'r annynweddiadol.

Y cynorthwyolion dynweddiadol ydynt o un cyfymrediad a pharwyddiaid cysefin, o herwydd mai o honynt y deilliant, gan fod y rhai cysefin yn gweini yn derfyniadau iddynt.

Gwelir yn canlyn pa barwyddiaid cysefin a weddant yn derfyniadau i rai cynorthwyol mewn cyfymrediad.

Y cynorthwyolion, *dawed, gwneud, gallu, cael, caffael, gorugaw,* a gymerant *af* yn derfyniad; megys, *gwnaf, gallaf.* &c.

Terfyniad *daeth, gwneuthur, gwyddaw,* yw *ost;* megys, *daethost, gwnaethost,* &c.

Terfyniad *canfod, darfod, gorfod, gwybod,* a *hanfod,* yw *bod;* megys, *canfu, darfyddaf.*

Y parwyddiaid cysefin, *bod, oedd, mae, sy,* a *sydd,* a arferir yn aml, yn nghyd ag ansawdd damweiniol, yn gynorthwyolion, gyda neu heb arddodiad rhagenwol; megys, *bu dda i ti beidio; a oedd raid iddo golli? y mae yn rhaid i mi dori.*

Ond yr ymadroddion hyn yn fynych a fwriant ymaith y parwyddiad cynorthwyol; megys, *rhaid iddo ganu*, yn lle *mae yn rhaid iddo ganu.*

Y parwyddiaid cysefin, yn y dull annynweddiadol, a arferir yn aml yn gynorthwyolion i barwyddiaid dyoddefol ac a genedl gyffredin.

Gellir rhoddi y parwyddiaid oll yn nghyfymrediad y dull annynweddiadol.

Nid oes ond un treigliad i bob amser yn nghyfymrediad parwyddiad annynweddiadol.

Pan arferir parwyddiad annynweddiadol yn gynorthwyol, y parwyddiad arall a ymgeidw yn null cyfraniad gweithredol, drwy yr holl amserau.

### *Treigliad annynweddiadol y Parwyddiaid Cysefin.*

#### MODD MYNEGOL.—*Amser Cynddrychiol.*

Air, eler, bydder, ydys.

#### *Amser Gorphenol.*

Awyd, aethwyd, athwyd, eddwyd, elwyd, buwyd, oeddwyd.

#### *Amser Dyfodol.*

Eir, elir, byddir, byddis.

#### *Amser Anorphenol.*

Aid, aethid, aesid, elid, byddid, buid, oeddid.

#### *Amser Tragorphenol.*

Aethasid, athasid, elasid, buasid.

#### MODD GORCHYMYNOL.

Aër, eler, bydder.

Nid iawn arfer *iff* yn niwedd parwyddiad; megys, *aiff, byddiff, gweliff,* &c.; oddieithr *caiff,* o'r gair *caffael.*

## ADRAN 9.—*Am y Parwyddiaid Cyfansoddedig.*

Y parwyddiaid cyfansoddedig, fel y soniwyd eisoes, a darddant o enwau, yn nghyda pharwyddiaid cysefin yn derfyniadau iddynt; gan hyny, nid rhaid yma ond dangos treigliad rhyw un o honynt, megys *caru*, yn y dull gweithredol a dyoddefol yn gyfarystlys.

### MODD MYNEGOL.—*Amser Cynddrychiol.*

| GWEITHREDOL. | | DYODDEFOL. | |
|---|---|---|---|
| *Unig.* | *Lluosog.* | *Unig.* | *Lluosog.* |
| 1 Carwyf, | carym. | 1 Fe'm carir, | fe'n carir. |
| 2 Carwyt, | carych. | 2 Fe'th garir, | fe'ch carir. |
| 3 Caryw, | carynt. | 3 Fe'i carir, | fe'u carir. |

### *Amser Gorphenol.*

| *Unig.* | *Lluosog.* | *Unig.* | *Lluosog.* |
|---|---|---|---|
| 1 Cerais, | carasom. | 1 Carwyd fi, | carwyd ni. |
| 2 Ceraist, | carasoch. | 2 Carwyd di, | carwyd chwi. |
| 3 Carodd,* | carasant. | 3 Carwyd ef neu hi, | carwyd hwy neu hwynt. |

### *Amser Dyfodol.*

| *Unig.* | *Lluosog.* | *Unig.* | *Lluosog.* |
|---|---|---|---|
| 1 Caraf, | carwn. | 1 Cerir fi, | cerir ni. |
| 2 Ceri,† | carwch. | 2 Cerir di, | cerir chwi. |
| 3 Cara, | carant. | 3 Cerir ef, | cerir hwy. |

---

* Ond rhyddid barddonol a gyfnewidia y trydydd dynsawd unig, *odd*, i *awdd;* megys, *lladdawdd*, am *lladdodd; daliawdd*, am *daliodd:* weithiau i *es ;* megys, *codes*, am *cododd ; rhagores*, am *rhagorodd:* ac i *as;* megys, *gallas*, am *gallodd ; llas*, am *lladdodd :* ac i *is ;* megys, *gadewis*, am *gadawodd ; cedwis*, am *cadwodd.* Yn gyffredin terfyna y dynsawd hwn yn y Ddyfedwysaeg yn *ws ;* megys, *carws*, am *carodd.* Ond ni feiddiodd bron un Bardd nac Arodrydd erioed ei hefelychu. Byddai y dynsawd cyntaf lluosog yn gywirach, ysgatfydd, pe terfynai yn *am* yn lle *om*, megys y gwna yn fynych yn mhlith y Beirdd, y rhai a arferant *cwynasam*, am *cwynasom ; clywsam*, am *clywsom*, &c.; ac felly deilliai y trydydd dynsawd lluosog, *ant*, yn fwy rheolaidd.

† Yr ail ddynsawd unig yn *i*, y Dyfedwys a'r Beirdd a droant i *y ;* megys, *cery*, yn lle *ceri ; lleddy*, yn lle *lleddi.* Arferir y trydydd

### *Amser Anorphenol.*

| GWEITHREDOL. | | | DYODDEFOL. | |
|---|---|---|---|---|
| | *Unig.* | *Lluosog.* | *Unig.* | *Lluosog.* |
| 1 | Carwn, | carem. | 1 Cerid fi, | cerid ni. |
| 2 | Carit, | carech. | 2 Cerid di, | cerid chwi. |
| 3 | Carai, | carent. | 3 Cerid ef, | cerid hwy. |

### *Amser Tragorphenol.*

| | *Unig.* | *Lluosog.* | *Unig.* | *Lluosog.* |
|---|---|---|---|---|
| 1 | Caraswn, | carasem. | 1 Carasid fi, | carasid ni. |
| 2 | Carasit, | carasech. | 2 Carasid di. | carasid chwi. |
| 3 | Carasai, | carasent. | 3 Carasid ef, | carasid hwy. |

### *Amser Ailddyfodol.*

| | *Unig.* | *Lluosog.* | *Unig.* | *Lluosog.* |
|---|---|---|---|---|
| 1 | Carof, | carom. | 1 Carer fi, | carer ni. |
| 2 | Carych, | caroch. | 2 Carer di, | carer chwi. |
| 3 | Caro, | caront. | 3 Carer ef, | carer hwy. |

### MODD GORCHYMYNOL.

| | *Unig.* | *Lluosog.* | *Unig.* | *Lluosog.* |
|---|---|---|---|---|
| 1 | Carwyf, | carwn. | 1 Carer fi, | carer ni. |
| 2 | Cara, | carwch. | 2 Carer di, | carer chwi. |
| 3 | Cared, | carant. | 3 Carer ef, | carer hwy. |

### MODD ANNHERFYNOL.—*Amser Cynddrychiol.*

| | |
|---|---|
| Caru. | Bod yn garedig. |
| Bod yn caru. | Bod i garu. |
| Bod am garu. | Bod yn garadwy. |

### *Amser Gorphenol.*

| | |
|---|---|
| Bod wedi caru. | Bod wedi ei garu. |

### CYFRANIAD *Cynddrychiol.*

| | |
|---|---|
| Cariad, yn caru. | Yn garedig. |

---

dynsawd unig yn yr amser dyfodol heb ei derfyniad; megys, *câr*, *dysg*. Hefyd, pan fydd y llafariad *o* yn y sill olaf o rai geiriau, cyfnewidiant hi i *y*; megys, *tro*, *try*; *tor*, *tyr*; *rhodd*, *rhydd*; *ffo*, *ffy*; *golch*, *gylch*; *dod*, *dyd*; *clo*, *cly*; *llosg*, *llysg*; *diolch*, *diylch*.

### CYFRANIAD *Gorphenol.*

| GWEITHREDOL. | DYODDEFOL. |
|---|---|
| Caredig, gwedi caru. | Caredig, gwedi ei garu. |
| Carawr.* | Carotor. |

### CYFRANIAD *Dyfodol.*

| Caradwy. | Caredigadwy. |
|---|---|

| CYFREDIAD. | DYLEDDFIAD. |
|---|---|
| Carator. | Ceritor. |

## ADRAN 10.—*Treigliad y Parwyddiaid Afreolaidd.*

### Am y Parwyddiad *gwn,* neu *gwybod.*

### MODD MYNEGOL.—*Amser Cynddrychiol.*

| *Unig.* | | | *Lluosog.* | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1. | 2. | 3. | 1. | 2. | 3. |
| Gwn, | gwyddost, | gwyr. | Gwyddom, | gwyddoch, | gwyddant. |

Gweler yr amser anorphenol a thragorphenol yn y modd eiddunedigol. Y gorphenol a'r amserau canlynol ereill a ddylynant dreigliad y parwyddiad sylweddol *bod,* gyd ag ychydig eithriadau. Y gorphenol a red fel y canlyn:

| *Unig.* | | | *Lluosog.* | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1. | 2. | 3. | 1. | 2. | 3. |
| Gwybum, | gwybuost, | gwybu. | Gwybuom, | gwybuoch, | gwybuant. |

Yn lle *gwybum,* darllenir weithiau hefyd *gwybuum;* megys,

> Dy gam a *wybuum,*
> Darllain dy bylgain y bum.
>
> HYWEL SWRDWAL, o gylch y fl. 1450.

---

* *Carawr, carotor, carator, ceritor,* ydynt hen eiriau godidog a arferid gynt gan y cynfeirdd.

*Amser Dyfodol.*

| | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|
| *Unig.* | Gwybyddaf, | gwybyddi, | gwybydd. |
| *Lluosog.* | Gwybyddwn, | gwybyddwch, | gwybyddant. |

MODD GORCHYMYNOL.

| | 2. | 3. | | 3. |
|---|---|---|---|---|
| *Unig.* | Gwybydd, | gwybydded, | *ac wedi ei gwtogi,* | gwyped. |

Y lluosog sydd unwedd ag amser dyfodol y modd mynegol.

MODD EIDDUNEDIGOL.—*Amser Anorphenol.*

| | | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|---|
| *Unig.* | | Gwybyddwn, | gwybyddit, | gwybyddai. |
| | *Gwedi ei gwtogi,* | Gwyddwn, | gwyddit, | gwyddai. |
| | *Hefyd,* | Gwypwn, | gwypit, | gwypai. |

| | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|
| *Lluosog.* | Gwybyddem, | gwybyddech, | gwybyddent. |

Arferir *gwyddiad* hefyd weithiau am y trydydd dynweddiad; megys,

> Gwaith cymmen ar fedwen fâd,
> Gweddeiddiaw gwydd a *wyddiad.*—D. AB GWILYM.

*Amser Tragorphenol.*

| | | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|---|
| *Unig.* | | Gwybuaswn, | gwybuasit, | gwybuasai. |
| | *Gwedi ei gwtogi,* | Gwybaswn, | gwybasit, | gwybasai. |
| | *Hefyd,* | Gwyddaswn, | gwyddasit, | gwyddasai. |

| | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|
| *Lluosog.* | Gwybuasem, | gwybuasech, | gwybuasent. |

Y gair cyfan ydyw *gwybyddaswn;* drwy drychu yr *dd* o hono, try yn *gwybuaswn;* a bwrw yr *u* ymaith wedi hyny, bydd yn *gwybaswn.*

*Amser Dyfodol.*

| | | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|---|
| *Un.* | | Gwybyddwyf, | gwybyddych, | gwybyddo. |
| | *Gwedi ei gwtogi,* | Gwypwyf, | gwypit, | gwypo. |

| | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|
| *Lluosog.* | Gwybyddom, | gwybyddoch, | gwybyddont. |

*Amser Annherfynol.*

Gwybod.

### *Ansawdd Dyoddefol.*

MODD MYNEGOL.—*Amser Cynddrychiol.*

Gwyddir, gwyddys.

Ac wedi ei gwtogi, *gwys;* megys,

> Ni *wys* heddyw na suddir;
> Och roi môr tawch rhom a'r tir.—TUDUR ALED.

Arferir hefyd *gwyddis* a *gwis,* gan y Beirdd.

*Amser Gorphenol.*

Gwybuwyd, *ac wedi ei gwtogi,* gwypwyd.

*Amser Dyfodol.*

Gwybyddir, *ac wedi ei gwtogi,* gwypir.

MODD GORCHYMYNOL.

Gwybydder, *ac wedi ei gwtogi,* gwyper.

*Amser Anorphenol.*

Gwybyddid, *ac wedi ei gwtogi,* gwypid.

*Amser Tragorphenol.*

Gwybyddasid, *ac wedi ei gwtogi,* gwybasid.

*Amser Dyfodol.*

Gwybydder, *ac wedi ei gwtogi,* gwyper.

CYFRANIAD.

Gwybodedig. Gwybodadwy.'

## Am y Parwyddiad *adwaen,* neu *adnabod.*

Gwreiddyn y parwyddiad hwn sy ddeublyg; o herwydd ffurfir rhai amserau oddiwrth y cynddrychiol *adwaen,* ac ereill oddiwrth y modd annherfynol *adnabod,* yn gyfunddull a *gwybod.*

### Modd Mynegol.—*Amser Cynddrychiol.*

| | | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|---|
| Un. | | Adwaen, | adwaenost, | edwyn. |
| | *A chan y Beirdd,* | Adwen. | | |

| | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|
| *Lluosog.* | Adwaenom, | adwaenoch, | adwaen*ont*, neu *ant.* |

### *Amser Anorphenol.*

| | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|
| *Unig.* | Adwaenwn, | adwaenit, | adwaenai. |

| | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|
| Lluos. | Adwaenem, | adwaenech, | adwaenent. |
| | | neu | |
| | nym, | nych, | nynt. |

### *Amser Gorphenol.*

| | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|
| *Unig.* | Adnabum, | adnabuost, | adnabu. |

| | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|
| *Lluosog.* | Adnabuom. | adnabuoch, | adnabu*ont*, neu *ant.* |

Dywedir hefyd *adwaeniad,* yn lle *adnabu;* megys,

> Yno gynt ei enw a gad,
> Y mae dyn a'm *adwaeniad.*—D. ab Gwilym.

### *Amser Dyfodol.*

| | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|
| *Unig.* | Adnabyddaf, | adnabyddi, | adnebydd. |

| | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|
| *Lluosog.* | Adnabyddwn, | adnabyddwch, | adnabyddant. |

### Modd Gorchymynol.

| | 2 | 3. |
|---|---|---|
| *Unig.* | Adnebydd, | adnabydded. |

Y lluosog sy gyfunwedd ag amser dyfodol y modd mynegol.

### Modd Eiddunedigol.—*Amser Anorphenol.*

| | | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|---|
| *Unig.* | | Adnabyddwn, | adnabyddit, | adnabyddai. |
| | *Hefyd,* | Adwaenwn, | adwaenit, | adwaenai. |
| | *Gwedi ei gwtogi,* | Adnapwn, | adnapit, | adnapai, &c. |

*Amser Tragorphenol.*

| | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|
| *Unig.* | Adnabuaswn, | adnabuasit, | adnabuasai, &c. |

*Amser Dyfodol.*

| | | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|---|
| *Unig.* | | Adnabyddwyf, | adnabyddych, | adnabyddo. |
| | *Hefyd,* | Adwaenwyf, | adwaenych, | adwaeno. |
| | *Gwedi ei gwtogi,* | Adnapwyf, | adnapych, | adnapo, &c. |

### Modd Annherfynol.

Adnabod.

## *Ansawdd Dyoddefol.*

### Modd Mynegol.—*Amser Cynddrychiol.*

Adwaenir.

| *Amser Anorphenol.* | *Amser Gorphenol.* |
|---|---|
| Adwaenid, ac adnabyddid. | Adnabuwyd. |

*Amser Dyfodol.*

Adnabyddir.

### Modd Gorchymynol.

Adnabydder, adwaener, *ac wedi ei gwtogi,* adnaper.

MODDAU EIDDUNEDIGOL, GALLUEDIGOL, AC AMMODOL.

| *Amser Anorphenol.* | *Amser Gorphenol.* |
|---|---|
| Adwaenid, ac adnabyddid. | Adnabuasid. |

| *Amser Dyfodol.* | CYFRANIAD. |
|---|---|
| Adnabydder, ac adnaper, ac adwaener. | Adnabodedig. |

Yn gyfunddull y treiglir hefyd y parwyddiad *cydnabod,* oddigerth yn yr amserau a ddeilliant oddiwrth *adwaen.*

## Am y Parwyddiad *cael, cahel,* neu *caffael.*

### MODD MYNEGOL.—*Amser Gorphenol.*

| | | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|---|
| Un. | | Cefais, | cefaist, | cafodd. |
| | *Gwedi ei gwtogi.* | Ces, | cest, | cadd, a cas. |

| | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|
| *Lluosog.* | Cawsom, | cawsoch, | cawsant. |

Dywedir hefyd, yn y trydydd dynweddiad unig, *cafas;* megys,

> Nid digofaint a *gafas,*
> Twr teulu, 'mysg llu y llas.—ELIDYR SAIS.

### *Amser Dyfodol.*

| *Unig.* | | | *Lluosog.* | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1. | 2. | 3. | 1. | 2. | 3. |
| Caf, | cai, cef, a ceffi, | caiff | Cawn, | cewch, | cant, a caffant. |

Arferir *caffaf,* yn lle *caf,* weithiau gan y Beirdd; megys,

> Ebol goffol a *gaffaf.*—IOLO.

### MODD GORCHYMYNOL.

Ni fedd y rhif unig ail ddynweddiad. Y trydydd dynweddiad ydyw *caed,* a *caffed.* Yn y rhif lluosog,

*cant*, a *caffant*. Benthycia y dynweddiadau ereill oddiwrth amser dyfodol y modd eiddunedigol.

## Moddau Eiddunedigol, Galluedigol, ac Ammodol.

| | | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|---|
| *Un.* | | Cawn, | cait, | cai. |
| | *Hefyd*, | Caffwn, | caffit, | caffai. |

| | | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|---|
| *Lluos.* | | Caem, | caech, | caent. |
| | *Hefyd*, | Caffem, | caffech, | caffent. |
| | ——— | Ceffym, | ceffych, | ceffynt |

### *Amser Tragorphenol.*

| *Unig.* | | | *Lluosog.* | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1. | 2. | 3. | 1. | 2. | 3. |
| Cawswn, | cawsit, | cawsai. | Cawsem, | cawsech, | cawsent. |

### *Amser Dyfodol.*

| | | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|---|
| *Un.* | | Cafwyf, | cefych, a ceych, | cafo. |
| | *Hefyd*, | Caffwyf, | ceffych, | caffo. |

| | | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|---|
| *Lluos.* | | Cafom, | cafoch, | cafont. |
| | *Hefyd*, | Caffom, | caffoch. | caffont. |
| | ——— | Caom, | caoch, | caont. |

## Modd Annherfynol.

Cael, cahel, a caffael.

### *Ansawdd Dyoddefol.—Amser Gorphenol.*

Cafwyd, caffwyd; caed, cad; cafad, caffad;

megys,

> Llawen Duw Dofydd dydd y *caffad* cadfan,
> Agored i wan i wen angad.
>
> Llewelyn Fardd, o gylch y fl. 1280.

### *Amser Dyfodol.*

Cair, ceffir.

## Modd Gorchymynol.

Caer, a caffer.

MODDAU EIDDUNEDIGOL, GALLUEDIGOL, AC AMMODOL.

*Amser Anorphenol.*
Caid, ceffid.

*Amser Tragorphenol.*
Cawsid.

*Amser Dyfodol.*
Caer, caffer.

Y mae yn ddiffygiol mewn cyfraniadau.

Am y Parwyddiaid *byw*, a *marw*.

Arferir y rhai hyn yn y modd annherfynol yn unig; eithr deuant weithiau yn enwau gweinion; megys, gwr *byw*, gwr *marw*.

Am y Parwyddiad *sefyll*.

Y parwyddiad hwn, gyd a'i eiriau cyfansawdd, a ffurfia ei holl amserau oddiwrth yr ail ddynweddiad unig o'r modd gorchymynol, sef *saf;* trydydd dynweddiad yr amser dyfodol yw *saif;* y rhelyw sy reolaidd.

Am y Parwyddiad *dwyn*.

Ffurfia hwn ei holl amserau oddiwrth drydydd dynweddiad unig amser dyfodol y modd mynegol, sef *dwg;* yr hwn sy hefyd yn ail ddynweddiad unig y modd gorchymynol. Amser gorphenol y modd mynegol a red fel y canlyn: *dygais, dygaist, dygodd,* neu *dyg.* Eithr arferir *dygum* weithiau am ddynweddiad cyntaf y rhif unig. Y rhelyw sy reolaidd.

Am y Parwyddiad *adolwyn*.

Hwn sydd yn y modd annherfynol, ac a arferir hefyd weithiau fel gorair. Eithr ffurfia ei holl amserau oddiwrth y parwyddiad *atolwg,* neu *adolwg;* megys, *atolygais, atolygaist, atolygodd,* &c.

> *Adolwyn* yt, dal a naid,
> A rhwyg gwr yr hug euraid.—RHYS GOCH, *o Eryri.*

## Am y Parwyddiad *tybygu.*

*Tybygu*, oddiwrth *tyb*, a ffurfir yn rheolaidd, oddigerth yn yr amser tragorphenol, yr hwn a dreiglir fel y gwelir isod, drwy gwtogi y gair trefnus *tybygaswn, tybygasit, tybygasai*, &c., pa un sydd anarferedig.

| *Unig.* | | | *Lluosog.* | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1. | 2. | 3. | 1. | 2. | 3. |
| Tygaswn, | tygasit, | tygasai. | Tygasem, | tygasech, | tygasent. |

Megys,

> I geisio, lle *tygaswn*
> Hawdd hud o gawdd, hyd y gwn.—D. AB GWILYM.

Eithr ceir ef weithiau yn gyfan; megys,

> A'r gasul, *dybygesynt*,
> O esgyll gwyrdd fentyll gwynt.—D. AB GWILYM.

*Clybu* a arferir yn lle *clywodd*, yn nhrydydd dynweddiad unig amser gorphenol y modd mynegol. Hefyd *clybod*, yn lle *clywed*, yn y modd annherfynol; megys,

> Aros *clybod* dyfod dydd.
> BLEDDYN FARDD, o gylch y fl. 1246.

*Cigle* a roddir hefyd yn lle *clywodd*, yr hwn ni lunia unrhyw amserau ereill. Er hyny darllenir y gair *ciglef;* megys,

> Doe ym mherygl y *ciglef*,
> Ynglyn aur angel o nef.—D. AB GWILYM.

*Degle* sydd ail ddynweddiad unig y modd gorchymynol, ac yn gyfystyr a *dyglyw.*

Arferir *hwde*, a *hwre*, yn y rhif unig, am *cymer;* a *hwdiwch, hwriwch*, neu *hwrewch*, yn y rhif lluosog, am *cymerwch.*

*Moes*, neu yn y rhif lluosog, *moeswch*, sydd yn yr ail ddynweddiad. Arferir y gair weithiau fel annogaethydd; megys, *Moeswch* i ni wneuthur pridd-feini. Gen. xi. 3.

*Eb* a arferir am yr holl ddynweddiadau yn y ddau rif; megys,

| | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|
| Un. | Eb fi, | eb di, | eb efe. |
| Un. *Dywedir hefyd*, | Eb y fi, | eb y di. | |

| | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|
| Llu. | Eb ni, | eb chwi, | eb hwynt. |
| Llu. *Dywedir hefyd*, | Eb y ni, | eb y chwi. | |

Ac yn Ngwynedd, *eb yr fi*, *eb yr di*, *eb yr ef*, &c. Ond ni threiglir y gair yn mhellach. Eto ei gyfansoddion, *ateb*, *gwrtheb*, ydynt reolaidd. Felly hefyd *gohebu;* megys,

Ni'th glyw neb yn *gohebu*.—D. AB GWILYM.

Am y Parwyddiad *medd*.

MODD GORCHYMYNOL.—*Amser Cynddrychiol.*

| *Unig.* | | | *Lluosog.* | | |
|---|---|---|---|---|---|
| 1. | 2. | 3. | 1. | 2. | 3. |
| Meddaf, | meddi, | medd. | Meddwn, | meddwch, | meddant. |

*Amser Anorphenol.*

| | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|
| *Unig.* | Meddwn, | meddit, | meddai. |

| | 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|---|
| *Lluos.* | Meddem, | meddech, | meddent. |
| | | neu | |
| | ym, | ych, | ynt. |

Ni fedd ychwaneg o amserau.

Am y Parwyddiad *piau*, neu, mewn cystrawen, *biau*.

Y gair hwn sydd yn amser cynddrychiol y modd mynegol, ac o bob dynweddiad; megys,

| | 1. | 2. | 3. | |
|---|---|---|---|---|
| *Unig.* | Mi, | ti, | efe, | } biau, neu piau. |
| *Lluosog.* | Ni, | chwi, | hwynt-hwy, | |

*Amser Anorphenol.*

| | 1. | 2. | 3. | |
|---|---|---|---|---|
| *Unig.* | Mi, | ti, | efe, | } bioedd, neu pioedd. |
| *Lluosog.* | Ni, | chwi, | hwynt-hwy, | |

Arferir ef hefyd weithiau yn yr amser dyfodol, drwy ychwanegu ato y parwyddiad sylweddol *bod,* yn ei dreigliadau; megys,

| | 1. | 2. | 3. | |
|---|---|---|---|---|
| *Unig.* | Mi, | ti, | efe, | } bieufydd, neu pieufydd. |
| *Lluosog.* | Ni, | chwi, | hwynt-hwy, | |

Felly hefyd yn amser anorphenol y modd eidduned-igol; megys,

| | 1. | 2. | 3. | |
|---|---|---|---|---|
| *Unig.* | Mi, | ti, | efe, | } bieufyddai, neu pieufyddai. |
| *Lluosog.* | Ni, | chwi, | hwynt-hwy, | |

Am y Parwyddiad *rhoddi.*

Y gair hwn weithiau, er mwyn cwtogiad, a drycha yr *dd* ymaith; ac felly daw *rhoi,* yn lle *rhoddi; rhof* a *rhoaf,* yn lle *rhoddaf; rhown,* yn lle *rhoddwn; rhy,* a thrwy osod yr arddodiad *dy* yn mlaen, *dyry,* yn lle *rhydd; rho,* yn lle *rhoddo,* neu *rhotho;* ac yn y modd gorchymynol, *dyro,* yn lle *rho* y Dyfedwys.

Am y Parwyddiad *arhos.*

*Arhos* weithiau, wrth ei dreiglo, a fwrw yr *s* derfynol ymaith, bryd arall ceidw hi; megys, *arhosaf* ac *arhoaf.* Trydydd dynweddiad yr amser dyfodol yw *erys,* megys *gesyd;* a thrwy drychu yr *s, ery.* Yn y modd gorchy-mynol, *aros,* neu *aro;* megys,

Na ffo, *cyfaro,* forwyn.—D. AB GWILYM.

### Am y Parwyddiad *dywedyd.*

Hwn a amrywia yn nhrydydd dynweddiad unig yr amser gorphenol; o herwydd yn lle y gair rheolaidd *dywedodd,* arferir weithiau *dyfod, dywad,* neu *dywawd.*

### Am y Parwyddiad *dawr.*

Hwn sydd yn nhrydydd dynweddiad unig amser cyn-ddrychiol neu ddyfodol y modd mynegol, ac a arferir yn annynweddiadol. Cyfansoddir ef fel y canlyn:

| 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|
| Ni'm dawr i, | ni'th ddawr di, | ni ddawr ef, &c. |

Ac yn ddynweddiadol, y amser anorphenol,

| 1. | 2. | 3. |
|---|---|---|
| Ni ddorwn, beth ddorwn, | ni ddorit, | ni ddorai, |

Ac weithiau yn gysylltiedig â *dy;* megys, *dyddawr.*

> Myn y ddeddf, mi ni *ddyddawr*
> P'le bo'r cawell morlo mawr.—MEREDYDD AB RHYS.

---

## PENNOD V.

### *Nodwedd Elfyddol y Gymraeg.*

(Gwel Pen. IV. Adran 7.)

Bernir yn gyffredin y rhaid fod yr iaith a lefarid gan gynoeswyr y byd, yn fwy digymysg a sefydledig nag un a adwaenir yn y dyddiau hyn. Nid annhebyg yw ei bod yn gynwysedig, ar y cyntaf, o ond ychydig o seiniau gwreiddiol, yn deilliaw yn wirfoddol oddiwrth egwyddorion naturiol dilys, ac yn alluog o gael eu lluosogi, wrth yr un rheol ddigyfeiliorn, mewn cyfartalwch i'r ymofyniadau cynyddol am eu harferiad. Canys byddai yn chwithig i ddychymygu, gyda rhai golygiann-

wyr, i iaith berffaith gael ei ffurfio gan ddyn cyn bod anghenrheidrwydd am dani,—i'r amrywiaeth mawr o ddichlynion grammadegol, a arweiniwyd i mewn wedi hyny, gael eu dyfeisio yn unig er traethu ychydig ddiffygion unigol,—neu, yn olaf, i gynnrychiolwyr amgyffredion y meddwl, yn nhaith fawreddog y dealltwriaeth dynol rhagddo, gymeryd y blaenoriaeth ar yr amgyffredion eu hunain. Y cyfryw dyb, pe na byddai afresymol o honi ei hun, a annghefnogid ar unwaith gan brofiad cyffredinol, a chan gasgliadau mwyaf didwn y dealltwriaeth.

Rhaid fod iaith, ynte, yn ei mebyd, wedi ei chyfansoddi yn unig o ryw seiniau naturiol a sefydledig, yn alluog i gael eu lluosogi yn ol egwyddor reolaidd a digyfnewid, ac hefyd yn gyfaddas i ffurfio lluaws o gydymgysylltiadau digymysg, yn cydredeg â chynydd cymdeithas ac ychwanegiad canlynol amgyffredion a diffygion dynol. Y prif elfyddau hyn, yn y Cymysgedd gwyrthiol yn Babel, i ba berffeithrwydd bynag y cyrhaeddasent y pryd hwnw, a wasgarwyd yn naturiol, ac a fân-ddarniwyd, fel pe b'ai, yn mhlith yr amrywiol gangen-ieithoedd, i ba rai y rhoddodd y dygwyddiad hwnw ddechreuad, ac a ffurfiasant, wedi hyny, sail yr holl ieithoedd ereill. Ni lefarir un iaith ar wyneb yr holl ddaear, yn yr hon nid oes rhyw nifer, pa gan lleied bynag, o'r seiniau gwreiddiol hyn yn ganfyddadwy. A dylid, o anghenrheidrwydd, caniatau i'r ieithoedd hyny a gadwant y gyfran fwyaf o honynt, yr hawl benaf i burdeb a hynafiaeth. Wrth olrhain yr elfyddau hyn i'r amrywiol ffynnonellau, lle y gellir eu cael yn awr, ein dychymyg a arliwia i ni adfeiliau rhyw adeilad hybarch, wedi eu neillduoli mewn rhan at adeiladaeth amrywiol anneddau diweddar, o fawr-wychder mwy hudolaidd, hwyrach, na'r pentwr hynafol, er hyny yn fyr o'i

symlrwydd a'i ardderchogrwydd naturiol ef. A phwy a ddywed nad yw hyd y nod yn alluadwy, drwy adundeb y darnau gwasgaredig hyn, i adferu i'r byd gyffelybrwydd lled agos o'r adeilad i'r hon y perthynent yn ddechreuol? Os unwaith y boddlonir ni mewn perthynas i unrhywiaeth y gweddillion hyn, yna ni fydd yn afresymol iawn i ni gymeryd y ddadl oll am wirionedd.

Eithr fy ymchwil presennol sydd o natur fwy cyfyngedig, gan mai fy neges digyfrwng â'r seiniau elfyddol hyn ydyw eu hystyried yn unig fel moddion i gadarnhau hynafiaeth y Gymraeg. Canys gellir profi fod ein hiaith gynhenid yn meddu, yn y golygiad hwn, blaenoriaeth rhyfeddol ar y rhan fwyaf o ieithoedd ereill, ac nad oes un o honynt yn rhagori arni. Hyd y nod yr Hebraeg, fel y mae wedi disgyn i ni, sydd îs na hi yn yr ystyriaeth hon. Eithr, pe llefarid yr hen iaith hono yn awr, megys y gwneir y Gymraeg, yn ei phurdeb cyntefig, nis gallwn braidd anmheu nad amlygai hi y profion cadarnaf o nodwedd elfyddol. Canys, hyd y nod yn y gweddillion o honi a gedwir genym ni yn awr, cynwysir llawer o gyd-darawiadau hynod o'r fath rhyngddi â'r Gymraeg; a'r cyfryw ag, wedi eu cysylltu â nodau neillduol ereill o'r Hebraeg, a gyfiawnhant yn ddigonol y farn a feiddiodd rhai gyhoeddi, y "rhaid ei hystyried yn iaith wreiddiol gyda golwg ar bawb ereill ag a ddaethant i lawr i'n hamseroedd ni.

Am y rheswm hwn, tybiodd rhai yn gymhwys i dynu cymhariaeth rhwng yr Hebraeg a'r Gymraeg, fel un o'r tystiolaethau cadarnaf a ellir eu dwyn i hynafiaeth bell yr olaf. Er hyny, dichon mai nid anmhriodol a fydd cymeryd golwg gyffredinol o'r cyfryw groyw-ddywediadau gwreiddiol ag a ellir eu gwahaniaethu yn y Gymraeg, pa rai ydynt yn mhlith y nodau mwyaf gwirioneddol o'i chymeriad cysefin. O lawer o'r rhai hyn hi a

gydgyfranoga âg ieithoedd ereill, tra y mae yn cynwys amryw na cheir mewn un lle arall, a pha rai ydynt, am hyny, yn brofion o'i theilyngdod tufewnol a'i hadgyfnerthoedd annibynol. Neu, o leiaf, profant na ddichon y sail ar ba un y gorphwys y rhagoroldeb hwn, fod amgen nag eiddo ymadrodd dechreuol dynolryw.

I ddyn, adnabyddus yn unig o'r Seisonaeg, neu o ryw ieithoedd ereill ag a adeiladwyd ar sylfaen gyffelyb iddi,—o'r cyfryw, yn fyr, ag nad ydynt wedi eu ffurfio oddiwrth eu nerth naturiol eu hunain, eithr a gyfunant yn eu cyfansoddiad gymysgedd o bob iaith arall,—byddai bron yn analluadwy cyfleu dychymyg cymesur am y briodoledd neillduol hon yn y Gymraeg. Pa fodd bynag, deall y sawl a wnaethant gynydd yn yr Hebraeg, ac yn fwy neillduol y rhai hyny a gyrhaeddasant wybodaeth gyffredinol o'r cangen-ieithoedd Dwyreiniol, ar unwaith pa beth a feddylir wrth y seiniau gwreiddiol hyn. Trwy yr Hebraeg, yr Arabaeg, y Bersiaeg, a'r holl ddosparth hwnw o ieithoedd, y maent yn gyffredin wedi ymdaenu; a pha le bynag y ceir hwynt, y maent yn cludo yr un arwyddocad gwahanredol a digyfnewid. "Bydd yn eglur tu hwnt i bob dadl ac anmheuaeth," medd Parkhurst yn y rhagymadrodd i'w Eiriadur Hebraeg, "i bwy bynag a chwilio y pwnc yn fanwl, mai amgyffredol ydyw yr Hebraeg, neu fod holl eiriau ereill yr iaith hono yn deilliaw, neu yn cael eu ffurfio yn rammadegol, oddiwrth ryw nifer sicr, ac nid mawr, o eiriau neu wreiddiau cysefin a thra awdurdodaidd o ran golygiad, ac yn gyffredin yn mynegu rhyw feddylddrych wedi ei fenthycio oddiwrth natur, hyny yw oddiwrth y gwrthddrychau allanol o'n hamgylch, neu oddiwrth ansoddau ein cyrph ein hunain, drwy ein synwyrau neu deimladau; ac fod, pa beth bynag ydyw y gwreiddeiriau, yr un meddylddrych, neu ddychymyg arweiniol,

yn rhedeg drwy holl dreigliadau y geiriau, pa mor lluosog neu amrywiol bynag y byddont." Felly yn gymhwys y mae gyd a'r Gymraeg, yr hon a fedd fel sylfaen bron yr holl amrywiaeth o groyw-ddywediadau digymysg ag a ddichon y llafar-beiriant eu mynegu. Oddiwrth y rhai hyn y deillia iddi y gallu anhysbyddadwy hwnw o gydymgysylltiad seiniau, pa un sydd wedi rhoddi yr holl helaethder mynegiadol a grymus hwnw ag sydd yn ei dynodi mor neillduol, a pha un sydd alluog o gael ei gynyddu i amrywiaeth diderfyn yn ol yr un egwyddor ddigyfnewid. Oddi yma hefyd y tardd yr urddas syml a'r prydferthwch cyfluniaidd hwnw, pa un a amlyga ein hen iaith mor nodedig yn ei goruchadeilad.

Nifer y prif seiniau, pa un bynag ai cwbl-lafar neu ynte cymysgedig, y rhai y mae y llais dynol yn alluog o draethu, a gyfrifwyd ryw faint yn llai na thrichant. O'r rhai hyn y mae y Gymraeg wedi cadw yn agos i ddeucant a deuddeg; o ddeutu wyth o ba nifer ydynt o ystyr annibynol a phenodol, o ddeutu pum deg yn ychwaneg a ddefnyddir yn y swyddau cynorthwyol o ragenwau, bannodau, cysylltiadau, ac arddodiadau, tra y mae y gweddill yn cael eu harfer yn rheolaidd fel blaenddodiaid neu olddodiaid mewn cyfansoddiad, yn ychwanegu neu yn lleihau, yn ol un egwyddor sefydledig, grym y geiriau â pha rai y cydgorphorir hwynt fel hyn. Hyd y nod y llafariaid eu hunain a feddant briodoleddau anadnabyddus i eiddo ieithoedd Ewropaidd ereill. Y maent oll yn llawn ystyr, a chanddynt, naill ai mewn nodwedd annibynol neu gynorthwyol, ran sefydledig i'w chyflawni.

Trwy gydymgysylltiad o'r elfyddau digymysg neu gysefin hyn, hadau, fel y gallwn yn gyfiawn eu galw, yr holl ieithoedd dynol, y llunir y geiriau hyny, i ba rai y rhoddodd Grammadegwyr yr enwau o wreiddiau.

Y mae gan M. DE GEBELIN, yn ei Draethawd rhagorol ar Ddechreuad Iaith ac Ysgrifen, y sylwadau synwyrlawn canlynol ar y pwnc hwn:—"Undeb y seiniau hyn," medd efe, "sydd yn ffurfio y pentwr o eiriau cysefin, y rhai ydynt oll yn eiriau unsill, oll yn gynwysedig yn y llafar-beiriant, oll yn arliwio gwrthddrychau anianyddol, oll yn ffynnonell neu wreiddiau ieithoedd, ac oddiwrth ba rai nis gellir eu hysgaru. Wrth olrhain y geiriau cysefin hyn, gallwn sylwi arnynt bob amser yn disgyn mewn dull syml a digymysg: yr unrhyw eiriau hyn, wedi eu hamrywio ychydig, a arferwyd bob amser er dynodi amgyffredion ychwanegol, a gwahanol gangenau o'r un pwnc." Y briodoledd y cyfeirir ati yma, sy dra darluniadol o'r Gymraeg: a phe buasai yr ysgrifenydd dysgedig hwn yn hyddysg ynddi, buasai, yn ddiamheu, yn alluog i'n cynysgaethu âg eglurhad cyflawn o'i ragosodiad gorchywrain. Y gorchwyl a ddechreuodd efe mor fedrus, a gyflawnasid yn foddhaol; a gwnaethid y cyfiawnder cyflawn hwnw i'n hiaith gynhenid, pa un a haedda mor helaeth. Trwy ddadglymu hyd y nod ei chydymgysylltiadau mwyaf dyrus, buasai yn alluog i ganfod y geiriau gwreiddiol hyny, o ba rai y lluniwyd hwynt: tra y buasai difyniad o'r rhai olaf hyn yn dynoethi i'w sylw y ffynnonellau dirgelaidd hyny, pa rai a ystyriai efe mor gyfiawn fel egwyddorion sylfaenol pob ymadrodd dynol. Trwy y fath weithred a hon, gellir arddangos purdeb a hynafiaeth y Gymraeg. Canys y mae "dadglymiad geiriau," i fenthycio ymadrodd yr un awdwr, "yn gorphwys ar ddwy sylfaen ansyfladwy, sef ar y llafar-beiriant, yr hwn sydd yr unrhyw yn awr ag ydoedd yn nghyfnod boreuaf amser, ac ar y pentwr o eiriau arferedig yn mhob iaith i fynegu amgyffredion a dreiddiant drwy ymenyddiau pawb dynion."

Yn y bennod nesaf ar y pwnc hwn, amcanwyf egluro, drwy y dadglymiad yr ymsynir arno yma, y nodiadau cyffredinol a gynygwyd uchod. Trwy esgyn yn y dull hwn, fel pe b'ai, at yr wy ei hun,—pa mor wrthwynebol bynag ydyw hyn mewn rhai pethau i reol y Bardd Rhufeinig HORAS,—galluogir ni i ddilenu y dirgelion hyny na wyr y rhan fwyaf o'r Cymry nemawr am danynt. Nid yn unig profir y rhagoriaeth, dros ba un y dadleuir yma, yn effeithiol drwy yr ymchwil hwn; eithr ymddengys hefyd fod natur yr holl hen ieithoedd yn wreiddiol yn gyfunryw,—nad ydynt eu hamrywiaethau ond damweiniol yn unig,—ac y gellir eu dwyn yn ol i'r elfyddau hyny, y rhai ni ddichon dim eu cyfnewid, am fod ganddynt natur ei hun yn wreiddyn.

---

## PENNOD VI.

### *Am Ddadglymiad Elfyddol y Gymraeg.*

Yr wyf yn awr dan yr anghenrheidrwydd o fyned i mewn i'r eglurhad dadglymiadol hwnw o'r Gymraeg, at ba un y cyfeiriwyd yn niwedd y Bennod flaenorol. Ac wrth gymeryd y gorchwyl hwn mewn llaw, cwbl newydd bron fel y mae yn ei natur, y mae yn analluadwy i'r ysgrifenydd beidio rhag-ganfod yr anfanteision i ba rai y mae yn agored ar y naill du, a'r perygl a ddichon ei amgylchynu ar y tu arall. Yr anfanteision y sydd yn ei aros ef, a ddeilliant oddiwrth yr anwybodaeth cyffredinol o nodwedd neillduol y Gymraeg a fodola yn y Dywysogaeth. Hyd y nod o'r rhai hyny ag ydynt fwyaf cynefin â hi, nid oes ond ychydig iawn yn lletya barn gywir am ei hegwyddorion elfyddol. A chyda golwg ar y rhai hyny oll, (a pha mor anferth y nifer!) ag y mae ein hiaith yn gwbl anadnabyddus iddynt, nid

yw braidd yn alluadwy iddynt lunio unrhyw amgyffred cywir am y nodau hyny, y rhai ni fedda un iaith ddiweddar mewn unrhyw radd sylweddol. Y mae i'w ofni, gan hyny, y lleinw rhagfarn yn gyffredinol, gan y rhai hyny, le hysbysiaeth, ac felly rhwystra hwynt rhag chwilio yr egwyddorion hyny, am ba rai nis gallasent yn flaenorol ffurfio unrhyw dyb gywir. Gyd a'r olwg hon, yn y cynyg canlynol i eglurhau, mewn ffordd o ddadglymiad, nodwedd elfyddol y Gymraeg, cymerir gofal i beidio rhoddi ergyd rhy ffyrnig i'r rhagfarnau y soniwyd am danynt uchod. Eto, ar yr un amser, detholir nifer digonol o enghreifftiau i gyfiawnhau, fel y gobeithir, yr olwg gyffredinol hono ar ein hiaith gynhenid, pa un a gymerwyd yn y Bennod flaenorol mewn perthynas i'w hegwyddorion elfyddol.

Y mae hyd y nod y llafariaid eu hunain, fel y sylwyd eisoes, yn meddu, yn y Gymraeg, arwyddocad sicr a phenodol, yr hwn a arddangosant nid yn unig yn eu nodwedd unigol ac annibynol, eithr a gadwant hefyd, i radd mwy neu lai, pan yn gysylltiedig â seiniau ereill, naill ai fel blaenddodiaid neu olddodiaid. Felly *a* a arwydda, ar wahan, gweithred, ymmod, neu barhausder; a pha swyddau bynag a gyflawna hi mewn ymadrodd, ar ei phen ei hun neu yn ei chysylltiadau mwyaf syml, cawsant eu dechreuad yn y meddylddrych gwreiddiol hwn. O blegyd hyn defnyddir hi i osod yr amrywiol eirynau hyny allan, pa un bynag ai cysylltiadau, arddodiadau, neu ragenwau, y rhai a ddynodant gynddrychioldeb neu gydfynediad gwrthddrych; ac y mae yn cael ei harfer yn fynych hefyd fel blaenddod mwyhaol. Yn ol yr un egwyddor y mae yn arwyddocau y parwyddiad *myned* yn un o'i amserau, megys *e â*, ac yn hwn hefyd y mae ei hystyr neillduedig yn cael ei gadw yn groyweglur. Mewn llawer o enghreifftiau ereill, y rhai nis

gellir eu manwl-nodi yma yn gyfleus, y mae yn cadw yr un meddylddrych o ymmod neu weithred. A gellir sylwi, yr ymddengys fod ystyr cyffelyb yn perthyn i'r llythyren hon yn y Grywaeg, megys yn y geiriau *a—ei*, yn wastadol, yn barhaus; *a—ô*, anadlu allan; ac mewn amrywiol o eiriau ereill a arwyddocant weithred neu barhausder, lle y gellir gwahaniaethu gweithrediad goruch-reolawl y llythyren *a* yn eglur. *A*, yn y Gymraeg, gellir sylwi yn mhellach, sydd hefyd yn weithredydd cyffredin ymholiad, megys yn yr enghreifftiau canlynol, *a ei di? pwy a aeth yno? a wyt ti yma? A*, yn gysylltiedig âg *i*, a arferir hefyd fel holiedydd gwahaniaethol; megys, *ai ti a welais?*

Yr holl lafariaid ereill arferedig yn y Gymraeg, sef *e, i, o, u, w*, ac *y*, a ellir eu heglurhau yn gyffelyb. Er enghraifft, *e* ac *o* a ddygant berthynas â'r amser gorphenol, ac *i* â'r dyfodol; tra y mae y tair weddilledig naill ai yn darddedigion neu dreigliadau oddiwrth y rhai blaenorol; y ddwy olaf oddiwrth *o*, â'r hon y maent yn cyfateb mewn ystyr, gan ddynodi ymmod gorphenol, neu bellenig o ran amser. *W, o*, ac *y*, ydynt hefyd nodau gwahaniaethol y tair cenedl, sef yr wrrywiol, y fenywol, a'r ganolig. Er eglurhau yr hyn sy newydd ei ddywedyd mewn perthynas i effaith neillduol y llafariad *w* i osod allan yr hyn a aeth heibio, gellir dwyn y ddwy enghraifft ganlynol yn mlaen:—*Gwedd* a arwydda trefn neu gyd-ieuad; *gweddw*, un wedi myned heibio i'r cyflwr o gyd-ieuad, neu yn ddifuddiedig o'i gymhares. *Gwel* yw golwg; *gwelw*, cyflwr tu hwnt i weledigaeth, neu lesni. Y mae lluaws o eiriau ereill, yn mha rai y medd *w*, drwy gael ei harfer megys olddodiad, effaith cyffelyb ar y synwyr. Y tair llythyren *e, i*, ac *o*, a ddefnyddir hefyd fel rhagenwau, ac a gyflawnant rai swyddau gwahanredol ereill: *i* sydd

arwydd o'r modd annherfynol, ac *o* a esyd yr arddodiaid hyny allan, y rhai a ddynodant dueddiad i ddeilliaw oddiwrth neu allan o ryw wrthddrych. *Y* sy fannod yn cyfateb i *the* yn y Seisonaeg. Ychydig o enghreifftiau, y rhai a roddir cyn diweddu, a amlygant yn fwy eglur y swyddau pwysfawr a gyflawnir gan y llafariaid yn y Gymraeg. A dichon mai nid anmhriodol yw ailddywedyd yma, fod eu gwahaniaethiad rhyfeddol o amser, gweithred, neu sefyllfa, yn treiddio drwy eu holl gysylltiadau â seiniau gwreiddiol ereill. Ac er y geill y gynneddf hon fod megys yn rhy anamlwg i amgyffred cyffredin yn y geiriau mwyaf amrywiedig, eto canfyddir hi yn eglur yn undeb digymysg dau neu dri o groywbarabliadau cysefin. Fel hyn, i roddi enghraifft, allan o lawer, o'r hyn a feddylir yma: *a,* fel y sylwyd eisoes, sydd yn dynodi, ar wahan, gweithred neu barhausder; *ta,* un o'i chydymgysylltiadau mwyaf syml, y gynneddf o ymehangu; a *tân,* cyfansoddedig o *ta* ac *an,* ydyw y gweithredydd ymehangol mwyaf grymus yn holl anian. Y cyfryw ydyw yr egwyddor,—a gellir ei hestyn drwy amrywiol gydymgysylltiadau,—ar ba un y mae y Gymraeg wedi ei hadeiladu yn gyffredinol. A gellir, hwyrach, penderfynu yn ddiogel, mai hwn hefyd oedd y dull yn mha un y cymhwysodd dyn ar y cyntaf y seiniau gwreiddiol, â pha rai y cynysgaethasai natur ef, at gynydd graddol ei amgyffredion.

Geill yr hyn sy newydd ei draddodi mewn perthynas i ystyr neillduol y llafariaid yn y Gymraeg, fel yn fynegol o amgyffredion syml, ymddangos i lawer, am y rhesymau a ddodwyd i lawr eisoes, yn ddychymygol ac anfoddlonol. Eithr dywedwyd digon, gobeithir, i ddwyn argyhoeddiad cyffredinol, fod y briodoledd a arddelwir fel hyn i iaith Cymru, yn anadnabyddus, i'r un gradd, i bawb ereill o fewn Ewropa. Yn y rhai olaf hyn, yn

ddianmheuol, y mae gan y llafariaid ranau pwysig i'w cyflawni; eithr nid ydynt yn cadw, mewn neb o honynt, y nodwedd gwahanredol a neillduol hwnw mor amlwg, pa un a feddiannant yn y Gymraeg, a'r hwn a raid fod yn dra nodadwy yn ymadrodd dechreuol dynolryw. Eto, am fod y seiniau llafarog hyn yn ffurfio elfyddau mwyaf naturiol, ac, o ganlyniad, mwyaf manwaidd y parabliad dynol, nis gallwn ryfeddu wrth gael iddynt fod yn fwy agored nag ereill i lygredigaethau newyddol amser. Felly yr ydym yn canfod, megys y sylwyd eisoes, y mae wedi dygwydd i iaith y Cymry, er fod yr hyn a geidw hi fyth o'u swyddau gwreiddiol hwynt yn dwyn tystiolaeth helaeth i hynafiaeth ei hadeiladaeth.

Oddiwrth lafariaid, y traws-symudiad mwyaf naturiol sydd at eu cydymgysylltiadau mwyaf syml hwynt, naill ai fel deuseiniaid neu pan fyddant wedi eu cyfuno â chydsain. A'r rhai hyn a ffurfiant y pentwr mawr o'r croyw-barabliadau gwreiddiol hyny y cymerwyd golwg gyffredinol arnynt yn y Bennod flaenorol. Y seiniau hyn a berthynant, yn ddianmheuol, mewn mesur mwy neu lai, i'r holl ieithoedd diweddar; eithr yn y Gymraeg yn unig, neu o leiaf yn y cangen-ieithoedd hyny a elwir yn Geltaidd, yr ymddengys eu bod, mewn unrhyw radd helaeth, wedi cadw eu cynneddfau gwreiddiol.* Fel

* Yn ol y Glorian Gymhariaethol dra hynod a wnaed gan GWILYM OWAIN PUGHE, LL. D. er gweled cyfartalwch y seiniau gwreiddiol a geir mewn ieithoedd hen a diweddar, ni cheidw y Seisonaeg ond 38, yr Ellmynaeg ond 31, a'r Ffrancaeg ond 39 o honynt. Y Lladinaeg a gyfrifa efe yn 45, yr Hebraeg yn 65, y Bersiaeg yn 122, a'r Arabaeg yn 148: y Gymraeg, fel y dodwyd i lawr o'r blaen, a gyfrifa efe yn 218. Eithr, mewn perthynas i'r Hebraeg, ni ddylid anghofio fod ei gweddillion anmherffaith yn rhagflaenu i gael golwg foddhaol ar ei nodwedd elfyddol. O'r 65 elfyddau ag ydynt gadwedig fyth ynddi, y mae o ddeutu 30 yn gyfunrhyw, o ran swyddau ac arwyddocad, â'r

hyn y cyfryw gydymgysylltiadau syml ag *aw, ew, ia, wy, yw, en, el, yd, bu, cu, hi, pi, ty,* ydynt, yn y rhan fwyaf o ieithoedd, yn gwbl ddiystyr, tra y mae ganddynt, yn y Gymraeg, nid yn unig feddwl penodol pan eu harferir yn annibynol, eithr hefyd cadwant ef, gan mwyaf, yn y lluaws mawr o eiriau â pha rai y cydgorphorir hwynt. Er enghraifft, *aw,* yr hwn sydd yn dynodi, ar wahan, peth wedi ei gynysgaethu âg ymmod neu ffrydiolrwydd, ydyw yr enw am ddwfr, prif gynnrychiolydd y cyfryw egwyddor. Ac o blegyd hyn y mae yn myned i mewn i gyfansoddiad amrywiol eiriau, y rhai ydynt fynegol, naill ai yn naturiol neu foesol, o'r cyffelyb gynneddf. Y cyfryw ydynt, yn mhlith ereill, *awdl,* sef ffrydiad y dychymyg, neu gerdd dannau; *awel,* chwa neu ffrwd o awyr; *awen,* dawn barddonol; *awon,* ffrydiau dyfroedd; *awyr,* y corph hylif a amgylchyna y ddaear; *alaw,* cerdd offerynol; *anaw,* cerdd dafod; *cawad,* gwlaw; a *iawd,* tymmor, pryd. Gellir crybwyll hefyd mai *awg* oedd terfyniad hynafol a phriodol enwau gweinion a ddynodent helaethrwydd o unrhyw gynneddf neillduol. Yn ol yr un egwyddor ddigyfnewid, *ia,* yr hwn, yn ei ystyr neillduedig, sy fynegol o unrhyw beth anhyddal, neu dueddol i lithro, ydyw hefyd y gair am rew. *Iach,* wrth yr un rheol, ydyw cyff a gwelygordd; *iad,* tu blaen y pen; *iaen,* caenen o rew; *ial,* amlwg, annghaead, a hardd-deg. Felly *wy* a arwydda, ar wahan, yr hyn a gynyrchir, ac ydyw hefyd y cyfenwad cy-

---

un nifer yn y Gymraeg. Y mae gan yr Arabaeg 63, a'r Bersiaeg 61, yn eyduno yn yr un dull. Hefyd, ni sorai neb, hyd y gwn i, pe defnyddiai yr Athraw diwydbwyll uchod ei ysgrifell, am ambell orig o weddill ei dymmor defnyddfawr, i gyfansoddi traethawd cyson er eglurhad pellach ar y golygiant cynwysedig yn y Bennod hon, yn hytrach na dadwrdd fyth a hefyd yn nghylch cyhoeddi rhyw hen chwedlau plentynaidd a elwir MABINOGION.

ffredin ar y peth a ffurfir yn y fenyw o rai rhywiogaethau o greaduriaid. Oddi yma lluaws o eiriau, darluniedigol o'r meddwl cyffredinol hwn, a arweiniant y sain hwn i mewn i'w cyfansoddiad, enghreifftiau o'r hyn a ellir eu gweled yn *wyl; wyr; gwy*, ffrwd; *gwydd*, coed ieuainc, neu brysgenau; a *rhwy*, gormodedd.

Byddai yn analluadwy, o fewn y terfynau i ba rai y cyfyngir y Bennod hon, i gyfrif yr holl enghreifftiau a ellid eu dwyn yn mlaen o'r gynneddf dra nodedig hon yn y Gymraeg. Y cyfryw ag y sylwyd arnynt uchod, a allant fod yn wasanaethgar i ddangos y rheol gyffredinol, yr hon, pa fodd bynag, a ellir ei heglurhau yn helaeth a boddhaol. Am y tro presennol digon ydyw sylwi, fod y gynneddf nodweddol hon yn ffurfio sylfaen y trefniant hwnw, ar ba un y mae y Gymraeg wedi ei hadeiladu. Y mae cydymgysylltiad ei helfyddau, mewn cynifer o wahanol ffyrdd ac i'r fath helaethder diderfyn, yn dyfod yn ffynnonell anhysbyddadwy o rym, meithder, ac ystwythder barddonol. Oddi yma hefyd y tardd y dilysrwydd â pha un y canlynir ymchwiliadau cyfiachyddol yn yr iaith hon yn fwy neillduol nag un arall. Gwybodaeth fanol o egwyddorion ei ffurfiad a'n galluoga i olrhain ei hamrywiol gyfatebiadau, ac i ddatguddio ei meddyliau mwyaf dirgelaidd. Felly y ceir fod *awen*, sef dawn barddonol, yn arwyddocau, yn llythyrenol, sylwedd ffrydiol, fel yr arddengys ei ddau elfydd; ac *enaid*, wrth yr un rheol, a ganfyddir i fod yn meddwl hanfod bywyd. Ac ni fyddai yn hawdd cael enwau a ddarluniant yn fwy athroniaethol eu cynneddfau hwynt. Yn wir, i oruchafiaeth yr egwyddor hon, o natur mor syml, y rhaid priodoli hynodrwydd yr iaith am ei chywirdeb athroniaethol yn hytrach nag am unrhyw eonder o eiddo ei hymadroddion traws-symudol.

Dichon ei bod yn briodol yn awr i gynyg rhyw gy-

maint o eglurhad ar y swyddau a gyflawnir gan y seiniau gwreiddiol, megys yr addawyd yn y rhan gyntaf o'r sylwadau hyn. Yn y Bennod flaenorol ar y pwnc hwn, dodwyd i lawr fod yn agos i wyth deg o groyw-barabliadau cysefin, yn y Gymraeg, yn meddu ystyr neillduol a phenodol, yn annibynol ar eu meddwl gwahanedig pan eu defnyddir mewn cyfansoddiad. Yr ychydig enghreifftiau canlynol a eglurant y nodiad hwnw, yn gystal a'r rhai hyny a gynygwyd yma, a gallant hefyd weinyddu i gyfleu amgyffrediad lled eglur o symlrwydd gwreiddiol yr iaith i'r hon y perthynant:—

*E a o ei le.—A ei di i'r ty?—I ba le yr ei di?—Af i dô y ty.—Ai da i ti, a fo da i mi?—Ti a ei er dy lw.—Cu yw hi i mi ac i ti.*

Y seiniau blaenorol, fe addefir, ydynt rai o'r symlaf ag a all y llais dynol eu traethu, ac y maent, fel y profa yr enghreifftiau hyn, o ddefnydd beunyddiol yn y Gymraeg, yn yr hon yn unig, hwyrach, y mae y gyfran fwyaf o honynt yn cael eu priodoli fel hyn at unrhyw feddylddrych gwahanredol. Yr ymadrodd canlynol o COLL GWYNFA, a gymerwyd bron ar antur, a rydd eglurhad pellach fyth am fynych ddygwyddiad y cyfryw arwydd-luniau elfyddol a'r rhai blaenorol, mewn cyflwr unigol:—

"Py waeth pa le, os yr
Un fath wyf fi, ac iawn fy mod, ac oll
Ond llai nag ef taranau á wnaent mwy ?" *

Yn y ddewis-ran hon nid oes ond deuddeg a phedwar o eiriau, ac o'r rhai hyn un hanner ydynt seiniau gwreiddiol yn unig, a bron y rhelyw oll yn gynwysedig o'r cydymgysylltiadau mwyaf digymysg a naturiol.

---

* Yr ymadrodd cyfatebol yn y Seisonaeg y welir yn *Paradise Lost*, B. i. l. 258.

Gellid dethol enghreifftiau dirif o COLL GWYNFA i amlygu y briodoledd neillduol hon yn y Gymraeg.

Oddiwrth yr hyn a feiddiwyd gynyg i sylw yn awr, pa mor anghyfartal bynag ydyw i natur bwysfawr y pwnc, ni ddichon lai na bod yn eglur i'r golygiannydd meddyliol, cywraint, a dysgedig, fod llawer o ddefnydd yn mheiriannwaith y Gymraeg iddo i weithredu arno. Yr ymddangosiadau hynod ac anarferol, y rhai a amlyga hi yn ei hadeiladaeth, ac yn neillduol yn y sylfaen ar ba un y gorphwys yn hanfodol, ydynt y fath ag a sefydlant ystyriaeth, ac a annogant ymchwil y cyfiachydd. Trwy brofiad anmhleidgar o'r nodweddau hyn, arweinid ef i gyfaddef ei bod yn ffurfio rhan dra neillduol ac amlwg o hen iaith Cymru, ac yn un na ddengys unrhyw iaith Ewropaidd arall, nad yw yn deilliaw o'r teulu Celtaidd, mewn un gradd canfyddadwy. Ac os byddai efe hefyd gyfunfarn ag ysgrifenydd y sylwadau hyn, fod yr elfyddau digymysg, am ba rai y traethwyd, yn perthyn i ymadrodd gwreiddiol y byd, efe a ganiatai i eiddo y Cymry, fel casgliad naturiol, y purdeb a'r hynafiaeth hyny, am ba rai y bu ei phleidwyr bob amser yn dadleu.

---

## PENNOD VII.

### *Am Orair.—Ei Swydd a'i Rywiau.*

Gorair sy ran ymadrodd a elwir felly am ei fod yn *goru*, neu yn dangos rhagoriaeth pob ansawdd, dull, cyflwr, lle, a sefyllfa, a berthyno i weithrediad parwyddiaid.

Cysylltir ef weithiau â pharwyddiad; megys, darllenodd *yn dda:* gyd ag enw cadarn; megys, y nefoedd *uchod*, y mynyddoedd *draw:* a chyda gorair arall; megys, *nid da gormod* o ddim.

Gellir adnabod gorair, yn gyffredin, drwy ei waith yn ateb i'r holiadau, *pa fodd? pa faint? pa le?* neu *pa bryd?* megys yn yr ymadrodd, Yn awr yw dydd yr iachawdwriaeth: yr ateb i'r holiad *pa bryd?* yw, *yn awr.*

Mae amryw eiriau cysefin, y rhai, o herwydd ansawdd eu hystyr, a weinyddant yn swydd gorair; a gellir eu gosod yn ddwy blaid, sef, goreiriau ansoddol a darluniadol.

Y goreiriau ansoddol ydynt o swydd gyffredinol i gyfagweddu â phob ansawdd damweiniol, neu enw gwan, mewn pa gyflwr hynag y byddo anghenrheidiol; ac ydynt y rhai canlynol:—*Can, go, iawn, mor, ni, na, pur, rhy, yn.* Y rhai hyn a ragflaenant pa eiriau bynag y cyfagweddont â hwy, oddieithr *iawn,* yr hwn, y rhan amlaf, a ganlyn ar eu hol.

Y rhai darluniadol ydynt fath o oreiriau a weddant yn gynorthwyon i ddylunio ymadrodd, heb ddangos ynddynt eu hunain un ystyr amlwg, chwaithach i hyweddu y sain; ac ydynt y rhai canlynol:—*A, ai, ar, as, y, yd, ydd, yr, ys, o, ef, efe, fe.*

Yn mhlith y goreiriau cysefin, a soniwyd uchod am danynt, y cyweithydd mwyaf cyffredin yw *yn,* yr hwn a eill ragflaenu pob ansawdd damweiniol, ac enwau cedyrn, gan eu dwyn i berthynas arbenig oddiwrth y cyffredin.

Ond y mae ansawdd goreiriol yn disgyn ar lawer o eiriau drwy adael heibio eiriau ereill, o gadw pa rai y byddai yr ymadrodd yn hir ac annghryno; ac y mae y goreiriau hyn o amryw nodweddiadau, yn perthynu i brif ymmodiadau y meddwl; a dangosir eu hamrywiaethau yn ganlynol:—

### 1. *Goreiriau Amser.*

Y rhai hyn hefyd ydynt eiriau cysefin a chyfansoddedig; sef, naill ai enwau, arddodiadau, neu gysylltiadau.

O amser cynddrychiol; megys, *eisoes, eleni, heddyw, yn awr, yn barod, y pryd hwn, y tro yma, weithion*, &c.

O amser gorphenol; megys, *cyn, cynt, doe, echdoe, erioed, erllynedd, ermoed, er ys enyd, er ys talm, gwrthdradwy, o'r blaen*, &c.

O amser dyfodol; megys, *ar fyr, eto, gwedi hyn, heno, o hyn allan, rhagllaw, toc, yn fuan, y fory, trenydd, tradwy*, &c.

O amser annherfynol; megys, *ambell waith, ar dro, bellach, bob amser, byth, drachefn, hyd, llawer tro, nes, oestadol, o'r diwedd, pan, peunydd, pryd, tra, yn foreu, yn fynych, yn hwyr*, &c.

### 2. *Goreiriau Cyflead.*

Mae y rhai hyn o eiriau cysefin a chyfansawdd, a llawer o bob un; megys, *acw, adref, allan, blaen, bry, draw, hwnt, i faes, i fewn, i fynu, isod, i waered, llyma, llyna, man, mewn, obry, ol, pell, rhywle, tuag, uchod, unlle, yma, yman, yna*, &c.

*Yma*, neu *yman*, fel pe b'ai, *y man*; megys,

> *Yman* ddyn i'r man ydd wyf.—D. AB GWILYM.

*Acw*, ac hefyd arferynt y Beirdd *racw*; megys,

> Hwyl *racw* 'm mrwydr hil Ricard.—IOLO.

*Uchod, isod, yngod*, a fwriant y *d* ymaith weithiau; megys,

> Och i'r Sais *ucho*,
> O'i caer nis caro.—LLEWELYN GLYN COTHI, 1450.

> Mae *yngo* gledd yn mwng gwlad.—SION CERI, 1520.

*Eto*, a chan yr hynafiaid *etwa*; megys,

> Cyn bod *etwa*, ewyllys da, dial eisiau.—BLEDDYN FARDD.

Hefyd, *etwaeth*; megys,

> Och Dduw ni ddaw ef *etwaeth*,
> I estwng treiswyr treisuriaeth.—ELIDYR SAIS.

### 3. *Goreiriau Rhif a Threfn.*

Rhifiad penodol a droir i gyflwr goreiriol drwy ddodi *gwaith* yn derfyniad iddo; megys, *unwaith, dwywaith, dengwaith, cannwaith*, &c. Eto er hyny enwau cedyrn yn arbenig ydynt y fath eiriau, ond fod ymmodiad y meddwl yn bwrw swydd gorair arnynt, drwy gwtogi yr ymadrodd.

Gellir llunio goreiriau rhif hefyd drwy roddi *tro*, neu *plyg*, i derfynu y rhifiad a fynir, ond fod *yn* i ragflaenu; megys, *yn untro, yn ddeutro; yn ddeublyg, yn driphlyg, yn gannplyg*, &c.

Mae goreiriau hefyd i arwyddo trefn, neu restriad; megys, *yn gyntaf, yn ail, yn drydydd, yn ddiweddaf, yn flaenaf, yn olaf:* neu ganlyniad rhifion o ansawdd damweiniol, ac i lunio y cyfryw dodir *med* i derfynu y rhif arbenig; megys, *unfed, seithfēd, cannfed ;* hefyd, *unfed waith, seithfed waith*, a *channfed waith.*

### 4. *Goreiriau Cymhariad.*

Y rhai hyn, agos i gyd, ydynt ansoddau damweiniol, yn cyflawni swydd gorair; megys, *ail, amgen, chwaithach, da, drwg, fal, fel, felly, gwell, llai, llawn, mal, megys, mor, mwy, mwyach, tebyg, unrhyw, bron, hytrach*, &c.

### 5. *Goreiriau Dognedd.*

Ansoddau damweiniol eto ydynt y rhai hyn, yn cymeryd nodweddiad goreiriau; megys, *achlan, agos, aml, bach, braidd, cymaint, digon, gormodd, llawer, lleilai, mawr, mwyfwy, peth, prin, pynag, rhy, swrn, ychydig, i gyd*, &c.

### 6. *Goreiriau Anmheuad.*

Cyfansoddedigion ydynt y rhai hyn, sef ansawdd

damweiniol, neu barwyddiad yn nghyd ag arddodiad; megys, *agatfydd, fe allai, hwyrach, odid, o ddamwain, ond odid, ysgatfydd*, &c.

7. *Goreiriau Sicrhad.*

Y goreiriau sicrhaol cyffredin a ddodir isod; ond nid oes yn ein hiaith ni un yn rhoddi ateb honiannol, yn gweddu i bob gofyniad, fel yn rhai ieithoedd ereill; ond yn lle hyny, pob ateb sydd yn amrywio yn ol yr amrywia y gofyniad, gan gadw rhan o hono yn yr ateb; yr honiannau arferol ydynt, *diau, do, e, fe, gwir, iawn, ïe, myn, nid amgen, oedd, oes, purion, sef, yw, ydyw, dianmheu, ceugant*, &c.

8. *Goreiriau Nacâd.*

Arwyddion gwreiddiol nacâd ydynt *ni* a *na;* y cyntaf sy nacâd uniongyrch, a chan hyny a arferir gyda pharwyddiaid yn y modd mynegol. Y gorair arall, yn gyffredin, a arwydda ammod, neu ryw ganlyniad; ac yna y mae yn nacâd gyda pharwyddiad ammodol, eidduned-igol, a galluedigol. Dyma hwy yn canlyn:—*dim, mo, na, nad, nag, nage, nas, ni, nid, nis, nag oes, nid oes, nid oedd, nid yw*, &c.

9. *Goreiriau Holiad.*

Y rhai hyn, gan mwyaf, ydynt gyfansawdd; naill ai rhagenw yn nghyd ag enw, ai dau orair cysefin yn nghyd; megys, *a, ai, ai ê, ai ïe, a yw, beth, mae, neud, neur, neus, ond, oni, onid, onis, pa, paham, pa beth, pond, ponid, ponis, py, atolwg, ertolwg, pa fodd, pa le, pa wedd, pa sut*, &c.

10. *Goreiriau Ebychiad.*

Yr ebychiadau ydynt fath o eiriau a gymerant y cyfryw ansawdd, er nad ydynt, agos i gyd, ond parwyddiaid yn

y modd annherfynol, ac, yn fynychaf, yn yr ail ddynweddiad. Gallant, gan hyny, fod yn lluosog iawn; ond y mwyaf cyffredinol ydynt y rhai canlynol:—*aro, dacw, dyma, dyn, dyn byw, ffw, gwae, gwyn ei fyd, hwt, llyma, llyna, nycha, och, O yr anwyl, O yr unig, truan, truan bach, twt, ust, wb, ysywaeth*, &c.

Dealler fod amryw o'r goreiriau crybwylledig yn gysylltiedig âg arddodiaid; megys, *i fewn, i faes, i fynu, i waered*, &c.: amryw o honynt yn enwau gweinion; megys, *isel, uchel, da, drwg*, &c.: rhai yn enwau cedyrn; megys, *heddyw, doe, y fory*, &c., pa rai a arferir weithiau yn oreiriau, ac weithiau yn rhyw ran arall o ymadrodd, ac nid all ond y synwyr yn unig eu gwahaniaethu, fel y gwelir wrth yr enghreifftiau canlynol:—Y *ffol* tra tawo a gyfrifir yn ddoeth. Dyn *ffol* a ddiystyra addysg. Gwnaethost yr awr hon yn *ffol*. Yn y cyntaf y mae y gair *ffol* yn llanw lle enw cadarn, o herwydd ei fod yn dangos synwyr ynddo ei hun; yn yr ail y mae y gair *ffol* yn enw gwan, o herwydd ei fod yn dangos ansawdd yr enw cadarn *dyn;* yn y trydydd y mae y gair *ffol* yn orair, o herwydd ei fod yn dangos dull y weithred, ac yn ateb i'r holiad pa fodd; megys, pa fodd y gwnaeth? yr ateb yw, *yn ffol.*

---

## PENNOD VIII.

### *Am Fannod.—Ei Ansawdd a'i Swydd.*

Bannod sy ran ymadrodd o ansawdd dangosiadol, neu gyfeiriadol; hyny yw, ei swydd ydyw dangos rhagor, neu i wahaniaethu rhwng enw dosparthiadol, mewn amryw ddull o gystraweniad, ac un arall sydd annosparthiadol, yr hwn sy bob amser heb y bannod.

Dau fannod sydd yn y Gymraeg o herwydd sain, ond a wasanaethant i'r un ystyr, sef *y* ac *yr;* ac a elwir bannodau terfynol, megys yr amlygir wrth yr enghraifft ganlynol:—Dyn sy debyg i wagedd. Yma, *dyn,* gan ei fod heb fannod o'i flaen, sydd annherfynol, ac wrtho y meddylir holl ddynolryw yn gyffredinol: ond pan ddywedir, Gwae *y* dyn hwnw; yma, gyda bannod yn flaenorol, penodir rhyw *ddyn* yn wahanol oddiwrth ereill.

Y bannodau *y* ac *yr* ydynt o'r un defnydd ac arwyddocâd; yr unig wahaniaeth rhyngddynt yw, yr arferir y cyntaf i ragflaenu geiriau yn dechreu â chydseiniaid; megys, *y byd, y neb, y sawl;* ac yn fynych o flaen *w* ac *i;* megys, *y wlad, y iaith:* a'r llall a osodir o flaen geiriau y byddo llafariaid yn eu dechreu; megys, *yr Arglwydd, yr enaid:* ac hefyd y gydsain *h;* megys, *yr Hollalluog.*

---

## PENNOD IX.

### *Am Gysylltiad.—Ei Ansawdd a'i Swydd.*

Cysylltiad sy ran o'r iaith, yn ol ei enw, a ddodir rhwng rhanau ymadrodd, neu ymadroddion cyfain, er eu cysylltu yn nghyd, a dangos eu hamrywiol berthynasau. Rhwng rhanau ymadrodd; megys, Gwr *a* gwraig; bywyd *ac* angau: rhwng ymadroddion cyfain; megys, Coffadwriaeth y cyfiawn sy fendigedig: *ond* enw y drygionus a bydra. Yma *a, ac, ond,* ydynt gysylltiaid.

Y perthynasau hyn a drefnir yn ddwy ran arbenig; sef, y cynglynol a'r gwahaniadol, a phob un o honynt hefyd a ymranant yn ol eu hamryw swyddau; hyny yw, i gyfuno, parhau, a chynull y synwyrau, yn ol eu cydrediad anianol; neu ynte, er y cysylltant ranau yr ymadrodd, i wahanu, gwrthymchwelyd, neu wrth-

wynebu, rhwng y naill synwyr a synwyr arall yn gofyn y fath wahaniaeth o barth ystyr, er yr ymgysyllta o barth ymadrodd.

Y cynglynolion a allant gydio, yn gystal a pharhau, eu perthynasau.

Y rhai cydiadol a gysylltant, neu a glymant yr ymadroddion yn nghyd, er y gallant fod yn annghyfaddas o barth synwyr.

Y rhai penaf o'r cysylltiadau cydiadol ydynt y rhai canlynol:—

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| A | Canys | Gan | Mal | Od | Pei | Wrth hyn |
| Ac | Drachefn | Hefyd | Megys | Os | Pes | Yna |
| Achos | Eilchwyl | Herwydd | Mor | Pe | Plegyd | Yno |
| Am | Eto | Mai | O | Ped | Wrth | Ynte. |

Y gwahaniadolion ydynt y sawl a gydiant ddywediadau, ond a ddangosant wahaniaeth yn eu hystyr; ac y maent o ddau ryw, sef y cyfunion a'r gwrthymchwelogion.

Y rhai cyfunion a wahanant yn unig, ydynt y rhai hyn, *ai, chwaith, naill, neu, no, nog, pa un,*

Y gwrthymchwelogion a wahanant, yn nghyda dangos gwrthwynebiad; ac y mae dau ryw o honynt, ac hefyd yn ymranu yn ddwy gainc; sef, yr annibynol a'r cymhariadol, y dichonol a'r annichonol.

Yr annibynolion ydynt y canlynol:—*eithr, oddieithr, oddigerth, ond, namyn.*

Y cymhariadolion ydynt y canlynol:—*no, nog.*

Y dichonolion ydynt y canlynol:—*oni, onid, onis.*

Yr annichonolion ydynt y canlynol:—*cyd byddo, eisoes, er, er hyny.*

Cysylltiadau o amryfeilion drefnau a ellir eu dodi yn nghyd, a'u helaethu, mewn llawer modd; megys,

| | | | |
|---|---|---|---|
| Ac am hyny | Am hyny pe | Eto megys | Ond megys pe |
| Ac hefyd | Gan hyny os | O herwydd mai | Yna megys |
| Ac wrth hyny | Eithr oni | Ond er hyny | Yna pe. |

Arferir weithiau amryw gysylltiadau yn nghyd yn yr un ymadrodd, a hyny mewn gwahanol ranau iddo, ac fel yn gwrthwynebu neu yn ateb eu gilydd; megys, *Pe* lladdai efe fi, *eto* mi a obeithiaf ynddo ef. *Naill ai* gwnewch y pren yn dda, a'i ffrwyth yn dda; *ai* gwnewch y pren yn ddrwg, a'i ffrwyth yn ddrwg.

---

## PENNOD X.

### *Am Arddodiad.—Ei Ansawdd a'i Swydd.*

Arddodiad a enwir fel hyn gan yr arddodir, neu y gosodir, ef o flaen y rhan hono o ymadrodd y cyfeirio ati.

Mewn perthynas i swydd arddodiad, math o offeryn yw yn null parwyddiad yn y trydydd dynweddiad unig; ac y mae yn gweini i nodi neu i arwyddocau y cyflwr, neu y cyfeiriad a eill fod gan y naill ymadrodd at y llall, yn ol pob cyfymlyniad, attegiad, gwahaniad, gwrthwynebiad, neu bwys, a eill y meddwl ei lunio, o barth y gwrthddrych gweithredol. Gan hyny cyflawnant yr arddodiadau yr amryfeilion foddion a raid wrthynt i hyny, yn ol yr amrywiol ystyriaethau arbenig a berthynont iddynt eu hunain; megys, Efe a aeth *mewn* brys *ar* neges *o* Gaerefrog *i* Gaerludd. Yma, *mewn, ar, o, i,* ydynt arddodiaid.

Arferir rhai arddodiaid weithiau wrthynt eu hunain; megys, *a, am, ar, dros, i, o, wrth,* &c.: cysylltir rhai wrth enwau cedyrn; megys, *an-llywodraeth:* wrth enw gwan; megys, *af-lwyddiannus:* wrth ragenw; megys, *am-danaf:* wrth barwyddiad; megys, *amgylchu:* wrth orair; megys, *oddi-acw:* ac weithiau wrth arddodiad arall; megys, *oddi-amgylch.*

Y mae tri rhyw o arddodiaid; sef, y godidog, y cyfansawdd, a'r rhagenwol: y rhai penaf sy fel y canlyn:—

### 1. *Arddodiaid Godidog.*

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| A | Cylch | Ger | Heibio | Mewn | Rhy | Ucho |
| Add | Cyn | Go | Hwnt | O | Tan | Uchod |
| Ag | Dy | Gor | Hyd | Odd | Tra | Uwch |
| Am | Er | Gwedi | I | Parth | Tros | Wrth |
| At | Erbyn | Gwrth | Is | Plaid | Trwy | Yn |
| Cyd | Gan | Heb | Maes | Rhag | Tu | Ys. |

Y mae amryw o'r arddodiaid godidog yn flaenddodol i eiriau ereill; megys,

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| A, | Athrist. | Cyn, | cynneddf. | Tra, | tramor. |
| Add, | addfwyn. | Dy, | dylaith.* | Tros, | trosodd. |
| Cyd, | cydfod. | Gwrth, | gwrtheb. | Yn, | ynfyd. |

### 2. *Arddodiaid Cyfansawdd.*

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Amgylch | Goruch | Oddi allan | O gylch | Trwodd |
| Cyda | Goruwch | Oddi amgylch | Rhag blaen | Tua |
| Cydag | Heblaw | Oddi ar | Rhag bron | Tuag |
| Cyferbyn | Islaw | Oddi arnodd | Rhag wyneb | Tuag at |
| Gerfydd | O ddeutu | Oddi fewn | Tanodd | Uwch law |
| Goris | Oddi | Oddi wrth | Trosodd | Yn nghyd. |

Y rhai canlynol hefyd a arferir mewn cyfansoddiad:—

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Ar hyd | I faes | O dan | Tu cefn | Uwch ben |
| Ar lawr | I fewn | O fewn | Tu draw | Uwch law |
| Ar led | I wrth | O flaen | Tu hwnt | Yn mhlith |
| Ar ol | O blaid | O herwydd | Tu ol | Yn mysg |
| Ger bron | O blegyd | Parth a | Tu isaf | Yn erbyn |
| Ger llaw | O blith | Tu blaen | Tu uchaf | Yn ymyl. |

### 3. *Arddodiaid Rhagenwol.*

Yr arddodiaid rhagenwol a elwir felly o herwydd cyfansoddi arddodiaid a rhagenwau dynweddiadol yn

---

* O flaen llafariaid bwrir yr *y* yn *dy* ymaith; megys, *dethol*, o *dy* ac *ethol; duno*, yn lle *dyuno:* oddi yma y tardd *cytuno*, yn lle *cytyuno*, fel yr arferid ei ysgrifenu gynt; *dymchwelyd*, yn lle *dy-ymchwelyd; daeth*, o *dy* ac *aeth*. Felly hefyd rhagddodir ef i oreiriau; megys, *dyma*, *dyna*, *dano*, *dobry*, *diso*, *ducho*, &c. Mewn rhai geiriau cyfnewidir *d* i *t;* megys, *tywyll*, o *dy* a *gwyll; tyred*, yn lle *dyred; tywallt*, yn lle *dywallaw*. Hefyd yr arddodiad hwn a dry barwyddiaid canolig i rai gweithredol; megys, *methu*, *dyfetha; glynu*, *dylyn*, &c.

nghyd. A'r arddodiaid a ymgyfunant â rhagenwau fel hyn ydynt y rhai canlynol:—

| Am | Can | Hon | Er | O | Oddi wrth | Rhwng | Trwy |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Ar | Dar | Han | I | Odd | Oddi tan | Tan | Wrth |
| At | Heb | Hyd | Idd | Oddi ar | Rhag | Tros | Yn. |

Mae tri amrywiaeth treigliad i arddodiaid rhagenwol. At y cyntaf y perthyna y canlynol:—

Arnaf Ataf Darnaf Oddi arnaf O honaf Oddi tanaf Tanaf.

Eu treigliad sy fel hyn,

| | | | |
|---|---|---|---|
| *Unig.* | Am danaf, | Am danat, | Am dano, am dani. |
| *Lluosog.* | Am danom, | Am danoch, | Am danynt. |

At yr ail y perthyna y canlynol:—

Canof Erof Hebof Hydof Oddi wrthof Rhyngof Eiddof Hanof Honof Oddi ganof Rhagof Trosof Trostof Trwof Wrthof Ynof.

Eu treigliad sy fel hyn,

| | | | |
|---|---|---|---|
| *Unig.* | Erddof, | Erddot, | Erddo, erddi. |
| *Lluosog.* | Erddom, | Erddoch, | Erddont. |

At y trydydd y perthyna ddodi yr arddodiad *i* yn unig at y dynweddiadau; fel y canlyn:—

Imi, iti, iddo. Ini, ichwi, iddynt.

Dealler y dygwydd i'r un geiriau fod yn oreiriau, yn gysylltiadau, ac yn arddodiadau; ac nid ellir eu dosparthu yn gywir, ond drwy adnabod eu hystyr priodol yn ol defnydd a threfn yr ymadrodd.

---

## PENNOD XI.

### *Am Gyfryngiad.—Ei Ansawdd a'i Swydd.*

Cyfryngiad sydd air a deflir i mewn rhwng rhanau o ymadrodd, i arwyddocau rhyw gyffroad, neu gynhyrfiad, yn y meddwl; megys, *Oh! Och! Ow!*

Y rhai penaf o'r cyfryngiadau a adnabyddir fel hyn,

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Aro | Gwynfyd | Hwi | O dyn | Wb |
| Bw | Hai | Hwnt | Oia | Wbwb |
| Dyn | Haiwchw | Hwt | Oio | Wchw |
| Dyn byw | He | Hys | Ow | Wela hai |
| Dyt | Ho | O | Siow | Wfft |
| Ffei | Holo | Och | Truan | Wi |
| Ffwrdd | How | Och fi | Twt | Ymaith |
| Gwae | Huw | Ocho | Ust | Ysywaeth. |

Y mae amryw eiriau ereill a arferir oddiar ryw gynhyrfiad disymwth yn y meddwl, y rhai sy ry faith ac afreidiol eu ychwanegu. Y mae cyfryngiad bob amser yn gofyn rhyfeddeb; megys, *garw son! wchw!* &c.

Cynwysir yr wyth ran ymadrodd crybwylledig, gan EDEYRN DAFOD AUR,* dan y ddau ben cyntefig, sef Enw a Parwyddiad; gan gyfleu enw gwan, rhagenw, a bannod, yn ddeilliedig o enw; a gorair, cysylltiad, arddodiad, a chyfryngiad, yn aelodau parwyddiad.

## RHAN IV.

### PENNOD I.—AM GYSTRAWEN.

CYSTRAWEN sydd yn traethu am gydundeb a chysylltiad geiriau mewn ymadrodd, fel ag i ddangos yr ystyr yn y modd mwyaf eglur a dyladwy.

* EDEYRN DAFOD AUR ydoedd awenydd goleubwyll, athrylithlawn, o Dir Iarll, yn Morganwg, yr hwn a flodeuodd yn nghanol y 13eg ganrif. Y mae Grammadeg tra chelfydd o'i gyfansoddiad yn gadwedig hyd y dydd heddyw, yr hwn a gyhoeddodd yn nghylch y fl. 1270, dan nawdd ac awdurdod yr holl dywysogion a arglwyddiaethent y pryd hwnw ar Gymru. Nid ydynt hanesion yn hollol gytuno o barth helaethder Tir Iarll: rhai yn dywedyd nad oedd yn cynwys mwy na phlwyfau y Pil, Margam, Bettws, a Llangynwyd; ereill yn ychwanegu rhywfaint yn rhagor; ond y mae yn debyg fod y cynwysiad uchod yn lled agos i'r gwir. Enw cysefin yr ardal oedd Y Maes mawr.

Wrth ymadrodd y meddylir cydgasgliad o eiriau yn y fath fodd ag i ffurfio cyflawn synwyr.

Ymadrodd sydd o ddau fath; sef, unigol a chyfansawdd.

Ymadrodd unigol a elwir felly am ei fod yn ddigymysg wrtho ei hun, ac heb achos attalnod ynddo, ac a ffurfir weithiau o un gair cyfansawdd; megys, *Gweddiwn:* weithiau o fwy nag un gair, neu wrthddrych a pharwyddiad; megys, *Na ladd. Byw fyddo y Brenin. Melus yw yr einioes.*

Ymadrodd cyfansawdd a gynwys ynddo ddau neu ychwaneg o ymadroddion unigol, wedi eu cyfymlynu drwy gymhorth un neu ychwaneg o eiriau cysylltiadol; megys,

> Chwilia ef yr uchelion,
> A môr, a thir, am wyrth Ion.

Wrth droi yr ymadrodd hwn i'w ranau unigol, ceir ynddo dri ymadrodd; fel hyn, Chwilia ef yr uchelion am wyrth Ion; chwilia ef fôr am wyrth Ion; chwilia ef dir am wyrth Ion.

Fel y mae ymadroddion yn ymranu yn ddau ryw, felly hefyd gellir neillduo y rhanau a gyfansoddant ymadrodd i ddau ryw; sef, unigol a chyfansawdd: o blegyd dichon ymadroddion cyfain, drwy gymhorth cysylltiadau, weinyddu fel rhanau neillduol o un ymadrodd; fel hyn, *Yr ych a edwyn ei feddiannydd, a'r asyn breseb ei berchenog: ond Israel nid edwyn, fy mhobl ni ddeallant.* Yr ymadrodd hwn a gynwys ynddo ddau ymadrodd unigol, y rhai a elwir *dosparthiadau.*

Y mae cystrawen yn cynwys yn benaf ddwy ran; sef, *Cydweddiad* a *Llywodraeth.*

Cydweddiad ydyw y cyfundeb sy rhwng y naill air a'r llall, pan ei gofynir yn yr un rhif, cenedl, a dynweddiad.

Llywodraeth ydyw yr awdurdod sy gan y naill ran o y madrodd ar y llall, i reolaethu ei fodd, amser, a dynweddiad.

Er peri cyfundeb ac iawn drefn geiriau mewn ymadrodd, dylai y rheolau a'r sylwadau canlynol gael eu chwilio yn ddyfal.

---

## PENNOD II.

### *Am Gystrawen Enw Cadarn.*

Amryw garennydd a pherthynasau y naill beth at y llall a ddangosir yn y tri modd hyn; yn gyntaf, drwy gyflead enwau cedyrn yn nghyd, yn unig; yn nesaf, drwy ychwanegu y bannodau dosparthiadol; ac yn olaf, drwy ychwanegu arddodiaid at y ddau ddull arall.

Amryw berthynasau enwau cedyrn mewn cystrawiad a gynwysir yn y rheolau canlynol:—

1. Enw cadarn annosparthiadol, neu yr hwn a saif yn unig, heb un gwrthddrych; megys, *sail, tŷ, maes,* ac ereill.

2. Enw cadarn dosparthiadol yn dechreu â chydsain, a ragflaenir gan y bannod *y,* ac *yr* a ragflaena un yn dechreu â llafariad; megys, *y sail, y sail-faen, yr afon, yr afon hon.*

3. Pan gyfleir dau enw cadarn yn nghyd, y naill yn briodol a'r llall yn alwedig, a'r naill i ddangos ystyr, ansawdd, neu sefyllfa y llall, gellir gosod yr enw priodol yn gyntaf, ac heb un bannod; megys, *Dafydd Frenin; Ioan Fedyddiwr:* ond os gosodir yr enw galwedig yn gyntaf, yna blaenorir ef â bannod; megys, *y Brenin Dafydd.*

4. Pan fyddo dau enw galwedig yn nghyd, rhoddir weithiau arddodiad o flaen y diweddaf; megys, *gwr o*

*ddysg:* ac os priodol fydd y diweddaf, y blaenaf a ofyn fannod; megys, *y bradwr Suddas:* neu, er mwy o hysbysrwydd, rhoddir yr enw galwedig weithiau gyda bannod yn ddiweddaf; megys, *Asaph y Cofiadur.*

5. Pan gyfleir dau neu dri, neu ragor, o enwau cedyrn yn nghyd, a'r naill yn berchenogol o'r llall, y cyntaf sy dan feddiant yr ail, yr ail dan feddiant y trydydd, ac felly olynol; megys, *Sail tŷ, Salmau Dafydd, sail tŷ mab Brenin Lloegr.* Ond pan fyddo dau enw galwedig wedi eu cysylltu yn un gair cyfansawdd, yna dylai y meddiannydd fod yn flaenorol; megys, *brenin-fainc, colomen-dy.*

6. Deallir weithiau am ddau enw yn nghyd, drwy grybwyll am un, yr hyn a ddygwydd weithiau er talfyru yr ymadrodd; megys, *troi ar yr aswy,* h. y. y *llaw* aswy; *gwr da a chyfiawn,* h. y. gwr da, a *gwr* cyfiawn.

---

## PENNOD III.

### *Am Gystrawen Enw Gwan.*

1. Y mae pob enw gwan, a phob rhagenw o ansawdd damweiniol, yn perthyn i ryw enw cadarn, naill ai yn grybwylledig neu yn ddealledig. Yn grybwylledig; megys, *gwr doeth:* yn ddealledig; megys, *y cyfiawn a ragora ar ei gymydog,* h. y. y *gwr* cyfiawn.

2. Y drefn fwyaf priodol yn y Gymraeg yw fod yr enw gwan, neu yr ansawdd damweiniol, yn ei radd cysefin, yn canlyn y cadarn y perthyno iddo; megys, *dyn da, cân orchestol.* Eto y mae eithriad i hyny mewn amryw achosion, canys rhoddir weithiau yr enw gwan yn flaenorol, a hyny heb niweidio y synwyr; megys, *cam-dystiolaeth:* ac y mae hyn weithiau yn grymuso yr ymadrodd; megys, *y bythfywiol Dduw:* hefyd mewn

enwau galwedig cyfansawdd, y blaenaf yn y cyfansoddiad sydd ansawdd damweiniol i enw cadarn a ganlyno; megys, *gwyngalchiad, mânus, goleuddydd:* ac yn olaf, yn aml iawn mewn iaith brydyddol, yr ansawdd damweiniol, o ba ryw bynag, a ragflaena yn yr un modd; a hyn a luosoga ac a hardda y gerdd yn odidog.

3. Pan fyddo enw gwan mewn cyflwr o gymhariad, geill ragflaenu neu ganlyn y cadarn, wrth yr amcan a fynir; megys, *gwell gwaith, rhagorach gwir; gwaith gwell, gwir rhagorach.*

4. Enw gwan, fynychaf, a gyduna â'i briodol enw cadarn mewn rhif a chenedl; megys, *gwr cryf, gwyr cryfion; bron hesp, bronau hespion:* ond pan fyddo enw gwan mewn diffyg o rif lluosog, yna cysylltir enw gwan unig âg enw cadarn lluosog; megys, *gweithredoedd da, morwynion call.*

5. Pan fyddo enw gwan yn sefyll megys cyfenw i enw priodol, rhoddir yr enw gwan yn y genedl fenywol, er i'r priodol fod yn wrrywiol; megys, *Alecsander Fawr, Cattwg Ddoeth, Merddin Wyllt.*

6. Yr holl ansoddau damweiniol o rif a flaenorant, yn gyffredin, eu perthynol enwau cedyrn, ac a nodant eu rhif lluosog ynddynt eu hunain, er i'r cadarn sefyll yn y rhif unig; megys, *tri dyn, deuddeg llwyth:* ond drwy ychwanegu arddodiad, cymer yr enw cadarn ffurf luosog gyd ag enw gwan niferol; megys, *tri o ddynion, deg o forwynion:* ac weithiau heb arddodiad; megys, *y tri wyr hyn.*

7. Geill lluaws o ansoddion damweiniol ddyfod ynghyd, gan ragflaenu neu ganlyn yr enw cadarn: yn flaenorol; megys; *anwyl gariadus frodyr:* ond os yn ddylynol, dodir cysylltiad bob amser o flaen y diweddaf; megys, *gwr cywraint a deallus;* neu gallant fod rhyngddo ag enw cadarn arall a fyddo yn wrthddrych

iddo; a geill fod yn y cyfrwng ansawdd damweiniol un enw cadarn fel y llall; megys,

> **Hael Mordaf, hael mawrdeg Nudd,**
> **Haelach, greddfolach, Gruffudd.**

---

## PENNOD IV.

### *Am Gystrawen Rhagenw.*

1. Rhagenw dynweddiadol a ragflaena ei berthynol enw cadarn mewn rhif a chenedl, os na chyfrynga un gair arall; ac hefyd pan nad oes gyda ag ef ond ansawdd damweiniol, neu fannod; megys, *ti ddyn, ti egwan ddyn, ti y dyn.*

2. Geill rhagenw dynweddiadol, fynychaf, ragflaenu neu ganlyn parwyddiad, pa un bynag ai yn unig ai yn gysylltiedig â geiriau ereill, a chadw yr un synwyr; eithr gyda pharwyddiad gweithredol yn canlyn y rhagenw, arferol yw dodi *a* o flaen y parwyddiad; megys, *ti a roddi hyn*, neu, *hyn a roddi di; hwy a wnaethant hyn*, neu, *hyn a wnaethant hwy.*

3. Rhagenw meddiannol bob amser a ragflaena ei berthynol enw cadarn y meddianno arno, megys, *fy nhad, dy wlad, gwlad dy fam.*

4. Y rhagenwau meddiannol *mau*, (eiddof,) a *tau*, (eiddot,) bob amser a ganlynant enw cadarn, a rhoddir bannod yn flaenorol iddynt; megys, *y tad tau*, (dy dad,) *y wlad fau*, (fy ngwlad i.)

5. Er i ragenw meddiannol fod yn y rhif lluosog, eto geill yr enw cadarn dylynol fod weithiau yn y rhif unig; megys, *ein corph gwael ni.*

6. Pan fwriedir y rhagenw dynweddiadol i fod yn bwysfawr neu rymus, yna gosodir y rhagenw meddiannol o flaen yr enw cadarn y byddo meddiant iddo

arno, a'r rhagenw dynweddiadol ar ol hyny; megys, *dy le di yw hwn, ac nid ei lle hi.*

7. Rhagenw perthynol a gydwedda, o barth cenedl a rhif, â'i ragflaenydd, ac â phob enw y safo drosto; megys, *Duw yr hwn sy gyfoethog o drugaredd, Mair yr hon a ddyrchafwyd:* ac weithiau blaenorir rhagenw perthynol gan un amlygol; megys, *y rhai hyn yw y rhai a ddaethant allan o'r cystudd mawr.*

8. Pan safo *a* yn lle rhagenw perthynol, y mae yn cydweddu â rhagflaenydd o bob dynweddiad; y parwyddiad hefyd a gydwedda â'r rhagflaenydd yn yr un modd; megys, *dyma y peth a garaf, ti yw y dyn a garaf.*

9. Gadewir rhagenw perthynol, weithiau, allan o ymadrodd, heb golli ei arwyddocad; megys, *y duwiau* (y rhai) *ni wnaethant y nefoedd a'r ddaear, dyfethir hwynt o'r ddaear:* eithr er mwyn i'r blaenorydd ymddangos yn fwy hysbys mewn ymadrodd, gosodir yn fynych y rhagenw perthynol ynddo; megys, *fy nuwiau y rhai a wnaethym i, a ddygasoch chwi ymaith.*

---

## PENNOD V.

### *Am Gystrawen Parwyddiad.*

Y mae pob ymadrodd perffaith yn cynwys tri defnydd; sef, y gosail, neu gyflwr enwadol, y parwyddiad, a'r gwrthddrych, neu gyflwr cyfeiriadol; a hyny naill ai yn grybwylledig neu yn ddealledig.

Y gair a etyb i'r holiad *beth* neu *pwy*, yn flaenorol neu ddylynol i'r parwyddiad yw ei achos enwadol; megys, *aberth yr annuwiol sy ffiaidd gan yr Arglwydd, Beth?* yr ateb yw, *aberth.*

1. Rhaid i barwyddiaid, oddigerth y rhai cysefin,

gyduno â'u hachos enwadol, sef yr enw neu y rhagenw fyddo yn orchwylydd iddynt, o barth rhif a dynweddiad; ond arferir y parwyddiaid cysefin gyda rhif unig a lluosog, y naill fel y llall; megys, *dynion gwatworus a faglant ddinas. Bwriadau y diesgeulus sydd at helaethrwydd. Genau y ffol yw eï ddinystr.*

2. Geill y parwyddiad ragflaenu neu ganlyn y gwrthddrych, gan fod yr achos enwadol yn cael ei gynwys yn nherfyn y parwyddiad; a geill y tri, yn gyfnewidiol, gymeryd y lle a fyner iddynt: hyny yw, pa un ai rhagflaenu y parwyddiad ai y gwrthwyneb a wna yr achos enwadol, geill y gwrthddrych eu canlyn, yn mha drefn bynag, yn ddigyfrwng; a geill y parwyddiad ganlyn y ddau ereill: y gwrthddrych a eill hefyd ragflaenu mor addas ag y geill yr achos enwadol; ond, pa un bynag, cyfrwng-osodir y geiryn dyluniol *a*, yn fynych, yn nesaf at y parwyddiad; megys, *gwolychaf fy Nhad, fy Nuw, fy Neirthiad; pan syrthio dy elyn, na lawenycha; synwyr dyn a oeda ei ddigofaint.*

3. Enw unig-luosog a gymer barwyddiad lluosog neu unig yn ddylynol: parwyddiad lluosog; megys, *y bobl a rodiasant mewn tywyllwch, a welsant oleuni mawr:* parwyddiad unigol; megys, *a'r holl luaws a ddystawodd, ac a wrandawodd ar Barnabas a Paul.*

4. Pan fyddo dau achos enwadol unig i'r un parwyddiad, gyda chysylltiad cynglynol rhyngddynt, geill y parwyddiad fod yn y rhif unig neu luosog; megys, *Paul a Silas oedd,* neu *oeddynt, yn gweddio.* Arferir parwyddiad unig weithiau gyd ag enw lluosog niferol; megys, *dau wr* a *gydymddyddanodd âg ef.*

5. Pan holer yn uniongyrch, dodir y gorair *a* i ragflaenu y parwyddiad yn ddigyfrwng, a rhai geiriau ereill a ragflaenant yn ddigyfrwng, ac ereill a gymerant enw, rhagenw, geiryn darluniadol, neu arddodiad, i gyfryngu;

megys, *a geiff yr hwn sydd yn casau barn lywodraethu? Ai llygad o gnawd sydd i ti?*

6. Pan arferir parwyddiad annynweddiadol fel yn gynorthwyol i barwyddiad arall, yr olaf a geidw le cyfraniad; megys, *hir y byddis yn cnoi tamaid chwerw.*

---

## PENNOD VI.

### *Am Gystrawen Gorair.*

Ni pherthyn i oreiriau, yn gyffredin, na chydweddiad na llywodraeth; yr unig beth mewn perthynas i'w cyfansoddiad, yw y lle y dylid eu gosod mewn ymadrodd.

1. Y rhai a elwir goreiriau darluniadol, a roddir bob amser o flaen y parwyddiad, a hyny yn gyffredin er cyfagweddu ei ystyr; ond yn aml hefyd arferir hwy fel cyflawniaid yn unig, er pereiddio sain ymadrodd.

2. Dylid gosod gorair, bob amser, mor agos ag y gellir i'r gair y byddo yn berthynol; megys, *nid da derbyn wyneb mewn barn.*

3. Y goreiriau cyffredin, o rif, cyflead, amser, cymhariad, anmheuad, a dognedd, a gymerant y cyflead a fynir gyda geiriau a fyddant mewn cyfansoddiad; hyny yw, gallant yr un a fynir ai rhagflaenu ai canlyn parwyddiad, achos enwadol, gwrthddrych, neu fod rhyngddynt; megys,

> Dos *nesnes* i'r cynhesrwydd,
> I'r adail gled rhed *yn rhwydd.*—LEWIS MORRIS.

Yr hyn ellir gyfansoddi fel hyn,

> *Nesnes* dos i'r cynhesrwydd,
> I'r adail gled *yn rhwydd* rhed.

4. Gosodir gorair, weithiau, o flaen enw gwan; megys, *rhy uchel yw doethineb i ffol:* ac weithiau o

flaen gorair arall; megys, *yr awr hon a phob amser teilynga ein gwrandaw.*

5. Goreiriau holiadol a honiannol, yn gyffredin, a ragflaenant barwyddiad, ac achos enwadol, a gwrthddrych; megys, *pa ddydd a roes im' oesi? ond tost y dydoliad hwn? myn y goleu, mi wnawn gilwg.*

6. Goreiriau nacaol a ragflaenant y parwyddiad yn y modd mynegol, a geill yr achos enwadol ragflaenu pob un o honynt, neu eu canlyn, fel y gwelir yn dda; megys, *ni phalla, ac ni ddigalona, hyd oni osodo farn ar y ddaear.*

7. Y goreiriau *dim* a *mo*, a arferir yn gynorthwyol i nacaon; megys pan yn lle *ni wiw iti son am hyny,* y dywedwn *ni wiw iti ddim son am hyny:* ac weithiau geill y ddau fod yn nghyd; megys, *ni wiw iti mo son dim am hyny.*

---

## PENNOD VII.

### *Am Gystrawen Bannod.*

Os bydd anghen dangos fod gwahaniaeth rhwng un enw cadarn ag arall, neu er ei neillduo yn derfynedig oddiwrth yr enw cadarn ei hun yn ei ansawdd cyffredin, yna gosodir y bannodau *y* neu *yr* o'i flaen, fel pe dywedid, *y dynion;* sef rhyw rai gwahanol, ac nid *dynion* yn gyffredin.

1. Pan fyddo dau enw cadarn wedi eu cyfleu yn nghyd yn yr achos meddiannol, un yn alwedig a'r llall yn briodol, y llywodraethydd a neillduа y meddiannydd heb un bannod; megys, *dinas Duw:* ond os enw galwedig fydd y meddiannydd, ac yn arwyddo neillduolrwydd, efe a ddynodir gyda bannod; megys, *tŷ y caethiwed, Tad yr amddifaid:* neu os gair cyfansawdd

a fydd, rhoddir y meddiannydd gyda bannod yn flaenaf; megys, *y penteulu.*

2. Pan ddaw yr ansawdd damweiniol o flaen enw cadarn, yn wrthwynebol i ddull cyffredin cystrawiad, neu ynte ar ei ol, rhaid i fannod eu rhagflaenu bob un, os bydd eisieu gwahaniaeth; megys, *y mawr drugarog Dduw, y tyst ffyddlon a chywir.*

3. Os bydd bannod yn rhagflaenu dau enw cadarn yn nghyd, yna disgyna yr enw cyntaf i ansawdd damweiniol; fel pe dywedid *y pen dyn;* a hyny a arwyddai rhyw ddyn yn rhagori ar ereill.

4. Os cyfleir dau enw cadarn yn nghyd, yr un a lywodraetho a gymer y bannod o'i flaen, pan ofynir gwahaniaeth iddo; megys, *tes yr haul:* ond os bydd yntau yn ei dro dan lywodraeth enw cadarn arall, fel pan ddelo lluaws o honynt yn nghyd olynol, yna yr olaf yn unig a gymer y bannod rhagddo; megys, *goleu ser y nefoedd, anrhydedd coron Brenin y Seison.*

5. Ni osodir bannod o flaen enw priodol oddieithr ei fod i'w benodi gyda rhagenw oddiwrth ryw enw priodol arall, neu am ryw un a grybwyllwyd eisoes; megys, *y Moses hwn, y Barabbas hwnw:* yr hyn hefyd a osodir weithiau pan ddynodir pethau wrth eu lleoedd damweiniol; megys, *tywyllwch yr Aipht, gwrthryfel yr Iwerddon.*

6. Gosodir bannod hefyd i hysbysu rhagenwau perthynol; megys, *yr hwn, y neb, y rhai, y sawl.*

7. Bwrir ymaith, yn fynych, yr *y* o'r bannod *yr* ar ol llafariad, pa un bynag ai cydsain ai llafariad a ddechreuo y gair dylynol, yr hyn a oddefir yn benaf ar ol y llafariad *a;* megys, *y tad a'r mab:* ar ol yr arddodiadau *a, i,* ac *o;* megys, *lladd â'r cleddyf, myned i'r maes, troi o'r frwydr:* ac ar ol y gorair *na;* megys, *uwch na'r cymylau, gwynach na'r eira*

## PENNOD VIII.

### *Am Gystrawen Cysylltiad.*

1. Nid yw y parwyddiaid yn eu hamryfeilion foddau yn gweithredu ar gyflwr y cysylltiadau gwahaniadol a osodir gyda hwynt mewn cyfymlyniad.

2. Y mae rhai o'r cysylltiadau yn gweini i glymu cyffelyb achosion yn nghyd; megys, *myfi a'r Tad un ydym*, *mynwn pe bait frwd neu oer*.

3. Rhai cysylltiadau ydynt yn gyfystyr, ond fod iddynt amrywiaeth llythyrol, y naill yn rhagflaenu cydseiniaid, y lleill y llafariaid, a hyny er pereiddio y sain yn unig; y rhai ydynt y canlynol:—*a*, *ac*; *â*, *ag*; *o*, *od*; *pe*, *ped*; *no*, *nog*; *oni*, *onid*. Y rhai hyny a ddiweddant â llafariaid, a ragflaenant eiriau yn dechreu â chydseiniaid; a'r rhai sydd yn diweddu â chydseiniaid, a ragflaenant eiriau yn dechreu â llafariaid.

4. Eto er hyny, y cysylltiadau *ac*, *od*, *ped*, *onid*, a wrthwynebant y drefn uchod ar rai achosion; sef, *ac* a ragflaena y goreiriau nacaol yn dechreu â chydsain; ac hefyd y goreiriau *fe*, *fel*, *felly*. Rhagflaena *onid*, *od*, *ped*, y golafariaid *f*, *h*, yn nechreu geiriau.

5. Y cysylltiad *a*, yn fynych, pan fyddo o flaen rhagenw meddiannol, a gyfansoddir yn nghyda sillgoll yn un gair; megys, *a'ch*, *a'i*, *a'm*, *a'n*, *a'th*, *a'u*, yn lle *a eich*, *a ei*, *a ym*, *a ein*, *a eith*, *a eu*; hefyd, *a'r*, yn lle *a yr*.

6. Y mae y gwrthwynebair cymharol *no* yn rhagflaenu geiriau yn dechreu â chydseiniaid; a *nog*, rai yn yn dechreu â llafariaid.

7. Bydd cysylltiad weithiau i'w ddeall, er ei fod heb ei grybwyll; megys, *fel y byddo y dyn*, *y bydd ei anifail*; h. y. fel y byddo, *felly* y bydd ei anifail.

8. Rhai cysylltiadau a ofynant gysylltiadau ereill

cyferbyniol iddynt yn yr un ymadrodd, a'r diweddaf yn cyfateb i'r cyntaf; megys y canlyn:—

*Canys—hefyd.* *Canys* beth bynag a hauo dyn, hyny *hefyd* a fêd efe.

*Gan—hefyd.* *Gan* fod marwolaeth drwy ddyn, drwy ddyn *hefyd* y mae adgyfodiad y meirw.

*Os—hefyd.* *Os* byw yr ydym yn yr Ysbryd, rhodiwn *hefyd* yn yr Ysbryd.

*Fel—felly.* *Fel* yr arwain cyfiawnder i fywyd, *felly* dylyn drygioni a dywys i angau.

*Os—Canys.* *Os* bydd newyn arnaf ni ddywedaf i ti; *canys* y byd a'i gyflawnder sydd eiddo fi.

---

## PENNOD IX.

### *Am Gystrawen Arddodiad.*

1. Arddodiad godidog a lywodraetha enw, neu ragenw yn ei ganlyn megys gwrthddrych, neu â'r hwn y mynegir fod rhywbeth yn gyfymlyn; megys, *oddi draw, wrth waith, daioni i ddyn.*

2. Gellir arfer lluaws o arddodiadau yn yr un ymadrodd, er dangos perthynasau pethau y naill at y llall yn ol y byddo ofynol; megys, *er lles i ti dy hun, peraf i ti dewi, rhag y canlyniad.*

3. Amryw o'r arddodiadau unigol, fel y crybwyllwyd eisoes, a gyfansoddir gyda rhagenwau dynweddiadol; megys, *am-danaf, ar-naf, at-af, er-of, gen-yf, heb-of, o-honof, oddi-wrthyf, rhag-of, tros-of, trw-of, wrth-yf, yn-of:* ac felly yn yr ail a'r trydydd dynweddiad, yn gystal unig a lluosog, yn mhob cenedl, ac a elwir rhagenwau arddodol, pa rai yn eu cyfansoddiad gyd ag enw, parwyddiad, neu ragenw, a gynwysant ynddynt eu hunain gysylltiad a llywodraeth; megys, *cof genyf ddywedyd o honot am dano wrthyf.*

4. Ond pan yw rhagenw yn gofyn grym, neu bwys, gosodir y rhagenw cadarn ar ol pob arddodiad rhagenwol; megys, *dyred ti ataf fi, dyro i mi, i ni,* neu *iddynt hwy.*

---

## PENNOD X.

### *Am Gystrawen Cyfryngïad.*

Cyfryngiaid, bob amser, a flaenorant eu gwrthddrych; megys, *och fi! gwae ef! ha fab!*

Gan nad yw cyfryngiaid ond geiriau a roddir yn nghanol ymadroddion ereill, nid oes iddynt nemawr o gyfansoddiad priodol. Bydd cyfryngiad weithiau yn cynwys rheswm cyfan; megys, *Ys truan o ddyn wyf fi! O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw!*

---

## PENNOD XI.

### *Eglurhad ar Gystrawen.*

Gan ein bod wedi gorphen yr eglurhad ar amrywiol ranau ymadrodd, a'r rheolau i'w ffurfio hwy yn synwyrwersi, buddiol yw yn awr roddi rhai cynlluniau er hyfforddiad i'r dysgadur pa fodd i brofi ei wybodaeth ynddynt, ac i'w gwneuthur yn gynefin iddo. Y mae natur y pwnc, yn gystal a'r cymhwysiad o hono, yn gofyn iddo gael ei ddosparthu yn ddwy ran; yn gyntaf, fel y mae yn golygu geiryddiaeth yn unig; ac, yn ail, fel y mae yn golygu geiryddiaeth a chystrawen yn nghyd.

Yma y canlyn rhai cynlluniau hawdd i'w deall o gyfansoddiad geiryddol, lle yr amlygir i ba ran ymadrodd y perthyn pob gair:—

## *Epistol Cyntaf Ioan, Pennod* IV.

| ADNOD 1. | |
|---|---|
| *Anwylyd*, ....... | Enw cadarn |
| *na* .............. | Gorair |
| *chredwch* ....... | Parwyddiad |
| *bob* ............. | Enw gwan |
| *ysbryd*, ........ | Enw cadarn |
| *eithr* ............ | Cysylltiad |
| *profwch* ........ | Parwyddiad |
| *yr* .............. | Bannod |
| *ysbrydion* ...... | Enw cadarn |
| *ai* .............. | Gorair |
| *o* ............... | Arddodiad |
| *Dduw* ....... .. | Enw cadarn |
| *y* ............... | Gorair |
| *maent:* ......... | Parwyddiad |
| *o blegyd* ........ | Cysylltiad |
| *y* ............... | Gorair |
| *mae* ............ | Parwyddiad |
| *gau* ............ | Enw gwan |
| *brophwydi* ...... | Enw cadarn |
| *lawer* .......... | Enw gwan |
| *wedi* ........... | Gorair |
| *myned* ......... | Parwyddiad |
| *allan* .......... | Gorair |
| *i'r* ............. | Arddodiad |
| *byd*. ............ | Enw cadarn |

| ADNOD 4. | |
|---|---|
| *Chwychwi* ....... | Rhagenw |
| *ydych* .......... | Parwyddiad |
| *o* ............... | Arddodiad |
| *Dduw*, .... ..... | Enw cadarn |
| *blant* ........... | Enw cadarn |
| *bychain*, ........ | Enw gwan |
| *ac* .............. | Cysylltiad |
| *a'u* ............. | Rhagenw |
| *gorchfygasoch* ... | Parwyddiad |
| *hwy:* ........... | Rhagenw |
| *o blegyd* ........ | Cysylltiad |
| *mwy* ........... | Enw gwan |
| *yw* ............. | Parwyddiad |
| *yr* .............. | Bannod |
| *hwn* ............ | Rhagenw |
| *sydd* ........... | Parwyddiad |
| *ynoch* .......... | Arddodiad |
| *chwi* ........... | Rhagenw |
| *na* .............. | Cysylltiad |
| *yr* .............. | Bannod |
| *hwn* ............ | Rhagenw |
| *sydd* ........... | Parwyddiad |
| *yn* .............. | Arddodiad |
| *y* ............... | Bannod |
| *byd*. ............ | Enw cadarn |

---

# Ychwanegiadau.

---

## PENNOD I.—AM WAHANNODIAD.

GWAHANNODIAD yw y gelfyddyd o ddosparthu cyfansoddiad ysgrifenedig yn ymadroddion, neu ranau o ymadroddion, drwy gymhorth nodau, neu attaliadau, i'r dyben o ddal ar yr amrywiol orphwysfâau y mae yr ystyr, a llafariad dichlynaidd, yn ofyn: ac y mae y nodau hyn mor anhebgorol anghenrheidiol i'w deall, fel, hebddynt, y byddai pob cyfansoddiad yn gymysgfa o ddyryswch, ac yn ddarostyngedig i amryw gam-ddeongliadau.

Y mae yr adwahannod yn arddangos y gorphwysiad byraf; y gwahannod, ddau cymaint o orphwysfa a'r adwahannod; y gorwahannod, dri cymaint a'r adwahannod; a'r diweddeb, bedwar cymaint a'r adwahannod.

Nid ellir dangos yn benodol pa beth yw hyd cywir, neu barhad, pob gorphwysfa; o herwydd y mae yn amrywio gyd ag amser yr ymadrodd oll. Gall yr unrhyw gyfansoddiad gael ei draethu mewn amser cyflymach neu arafach: ond dylai y cyfartalrwydd rhwng y gorphwysfâau fod fyth yn ddigyfnewid.

---

## PENNOD II.—*Am Adwahannod.*

Yr adwahannod, ( , ) gan mwyaf, sydd yn dydoli y rhanau hyny o ymadrodd, y rhai, er fod cyfundeb tra agos rhyngddynt mewn ystyr a chystrawen, a ofynant orphwysfa.

1. Mewn perthynas i ymadrodd unig, y mae yr amrywiol eiriau cynwysedig ynddo yn meddu cyfeiriad mor agos y naill at y llall, fel, yn gyffredin, nad oes unrhyw attaliadau yn anghenrheidiol, oddieithr diweddeb ar ei derfyn ; megys, *Ofn yr Arglwydd yw dechreuad doethineb. Y mae pob rhan o sylwedd yn llawn o greaduriaid byw.* Ymadrodd annghyfansawdd, modd bynag, pan y mae yn hir, a phethau ychwanegol yn canlyn yr achos enwadol ynddo, a ddichon oddef gorphwysfa yn ddigyfrwng o flaen y parwyddiad ; megys, *Nid yw chwaeth da y tô hwn, yn goddef i ni esgeuluso coleddu y Gymraeg. Bod yn gwbl ddifater am glod neu annghlod, sy ddiffyg gwirioneddol mewn enw da.*

2. Pan y mae cysylltiad gwahanol ranau ymadrodd annghyfansawdd yn cael ei dori gan ymadrodd anmherffaith, arweinir yr adwahannod i mewn, fynychaf, wrth

ddechreu ac ar ddiwedd yr ymadrodd hwnw; megys, *Yr wyf yn cofio, gyda diolchgarwch, am ei ddaioni i mi. Y mae ei waith, mewn amryw ystyriaethau, yn dra anmherffaith. Nid oes, am hyny, ond ychydig o gymeradwyaeth iddo.* Ond pan fydd y rhwystrau hyn yn ysgeifn a dibwys, gwell yw bwrw yr adwahannod heibio; megys, *Y mae gweniaith yn sicr yn niweidiol. Y mae hyfrydwch yn ddiau mewn cymwynasgarwch.*

Yn y cyffredinolrwydd o ymadroddion cyfansawdd, y mae anghenrheidrwydd yn fynych am yr adwahannod: hyn a ymddengys oddiwrth y rheolau canlynol; amryw o ba rai ydynt gymhwysiadol at ymadroddion annghyfansawdd, yn gystal a chyfansawdd.

3. Pan fydd dau neu ychwaneg o enwau cedyrn yn ymgyfarfod yn yr un gystrawen, dydolir hwynt âg adwahannod; megys, *Y gwr, y wraig, a'r plant, a ddyoddefasant yn ddirfawr. Cymerasant ymaith eu dodrefn, eu dillad, a'u cyfoeth.*

Y mae eithriad i'r rheol hon, gan mwyaf, pan fydd dau enw cadarn yn gyfunedig yn ddigyfrwng gan gysylltiad; megys, *Rhinwedd a drygioni a ffurfiant gyferbyniad amlwg i'w gilydd. Dynion rhydd-fucheddol a alwant grefydd yn benboethni neu ofergoel. Y mae gwahaniaeth naturiol rhwng rhinwedd a drygioni, rhwng haeddiant a drwg-haeddiant, rhwng doethineb a ffolineb.* Ond os na bydd y rhanau a gysylltir yn fyrion, gellir gosod adwahannod i mewn, er fod y cysylltiad yn grybwylledig; megys, *Gellir dywedyd fod ffughanesion yn gymysg-areithiau truenus, neu annogaethau peryglus i ddrwg.*

4. Dau neu ychwaneg o enwau gweinion yn perthyn i'r un enw cadarn, a ddydolir hefyd gan yr adwahannod; megys, *Nid oes anghen am un gorchudd ffugiol ar wirionedd eglur, sicr. Yr oedd Dafydd yn wr dewr-*

*wych, doeth, a duwiol. Gwraig addfwyn, synwyrol, dda ei moes, a chrefyddol.*

Eithr dau enw gwan, a gyfrwymir yn ddigyfrwng gan gysylltiad, nid ydynt i'w dydoli gan adwahannod; megys, *Gwirionedd sy deg a diddichell, syml a chywir, unffurf a chydsafawl.*

5. Dau neu ychwaneg o barwyddiaid, a chanddynt yr un achos enwadol, ac yn canlyn eu gilydd yn ddigyfrwng, a ddydolir hefyd gan yr adwahannod; megys, *Y mae rhinwedd yn cynal mewn adfyd, yn cymedroli mewn hawddfyd. Mewn llythyr, gallwn gynghori, annog, cysuro, deisyf, ac ymresymu.*

Dau barwyddiad wedi eu huno yn ddigyfrwng gan gysylltiad, ydynt wrthwynebol i'r rheol uchod; megys, *Pa un bynag a wnelom ai bwyta neu yfed, gweithio neu gysgu, dylem fod yn gymesur.*

Dau neu ychwaneg o gyfraniadau, ydynt ddarostyngedig i reol ac eithriad cyffelyb i barwyddiaid; megys, *Dyn yn ofni, yn gwasanaethu, ac yn caru ei Grewr.*

6. Dau neu ychwaneg o oreiriau yn canlyn eu gilydd yn ddigyfrwng, a ddylent gael eu dydoli gan yr adwahannod; megys, *Y mae llwyddiant yn gyffredin yn ymddibynu ar weithredu yn synwyrol, yn ddianwadal, ac yn nerthol yn yr hyn a gymerom mewn llaw.*

Eithr pan gyfunir dau orair yn nghyd gan gysylltiad, ni ddydolir hwynt gan adwahannod; megys, *Y mae rhai dynion yn pechu yn fwriadol ac yn rhyfygus.*

7. Pan ganlynir cyfraniadau gan rywbeth ymddibynol arnynt, dydolir hwynt, yn gyffredin, oddiwrth yr hyn sydd yn ol o'r ymadrodd, gan adwahannod; megys, *Y Brenin, wedi cymeradwyo y cynllun, a'i dygodd i ben.*

8. Ymadroddion mewn anerchiad cyfeiriol, a ddydolir oddiwrth y rhelyw o'r frawddeg gan yr adwahannod; megys, *Fy mab, moes i mi dy galon. Yr wyf dan*

*rwymau i chwi, fy nghyfeillion, am eich amrywiol gymwynasau.*

9. Enwau cedyrn mewn cyfosodiad, hyny yw, enwau a ychwanegir at enwau ereill yn yr un achos, mewn ffordd o eglurhad neu amlygiad, pan fyddo pethau cysylltiedig ereill yn cydfyned â hwynt, a ddydolir gan yr adwahannod; megys, *Paul, apostol y cenedloedd, oedd yn enwog am ei wresogfryd a'i wybodaeth.*

Ond os bydd y cyfryw enwau cedyrn yn annghyfansawdd, neu yn unig yn ffurfio enw priodol, ni wahanir hwynt; megys, *Paul yr apostol. Yr ymmherawdwr Antoninus a ysgrifenodd lyfr rhagorol.*

10. Darnau annghyfansawdd o ymadroddion wedi eu cydio yn nghyd gan gysylltiadau cymhariaethol, ydynt, gan mwyaf, i'w gwahaniaethu âg adwahannod; megys, *Fel y brefa yr hydd am yr afonydd dyfroedd, felly yr hiraetha fy enaid am danat ti.*

Os bydd y darnau ymadroddion cymhariaethol yn fyrion, gwell, yn gyffredin, yw gadael yr adwahannod heibio; megys, *Pa faint gwell yw cael doethineb nag aur? Y mae dynolryw yn gweithredu yn fynychach drwy wŷn anwadal na thrwy bwyll ac ystyriaeth.*

11. Pan osodir geiriau mewn cyferbyniad i'w gilydd, neu gyda rhyw amrywiaeth hynodol, y maent yn gofyn cael eu dydoli gan adwahannod; megys, *Er yn ddwfn, eto yn loyw; er yn arafaidd, eto nid yn farwaidd. Ceir dynion da yn fynych, yn y cyflwr brau, anmherffaith hwn, nid yn unig mewn undeb a, ond mewn gwrthwynebiad i, olygiadau ac ymarweddiad y naill a'r llall.*

12. Gellir yn briodol nodi dywediad godidog, neu sylwad byr, rywbeth ar wedd difyniad o waith awdwr, âg adwahannod; megys, *Y mae yn clwyfo balchder dyn i ddywedyd, Nis gwn.*

13. Y mae rhagenwau perthynol yn eiriau cyfrwym-

ol, ac yn gyffredin yn goddef adwahannod o'u blaen; megys, *Y mae efe yn pregethu yn uchel, yr hwn sydd yn arwain bywyd tymherus, cyfiawn, a duwiol.*

14. Pan fydd parwyddiad i'w ddeall, gellir yn fynych arwain adwahannod i mewn yn briodol. Y mae hon yn rheol gyffredinol, pa un, heblaw cynwys rhai o'r rheolau blaenorol, a fydd gymhwysiadol at amryw achosion na phenodwyd gan neb o honynt; megys, *Oddiwrth y gyfraith y deillia diogelwch; oddiwrth ddiogelwch, ymofyngarwch; oddiwrth ymofyngarwch, wybodaeth.* Yn yr enghraifft hon, y mae y parwyddiad *deillia* i'w ddeall o flaen *ymofyngarwch* a *gwybodaeth,* ar ba eiriau y mae gorphwysfa cryn fawr yn anghenrheidiol.

15. Y mae yn rhaid i'r geiriau, *sc yn hytrach, felly, oddiwrth hyn, drachefn, yn gyntaf, yn ail, cyn hyn, yn awr, yn ddiweddaf, unwaith yn rhagor, yn anad dim, o'r tu arall, yn y lle nesaf, yn fyr,* a phob geiriau ac ymadroddion ereill o'r fath, gael, yn gyffredin, eu dydoli oddiwrth y cyd-destyn gan yr adwhannod; megys, *Cofia dy gyfaill goreu a blaenaf; cyn hyn, cynalydd dy febyd; yn awr, gwarcheidwad dy ieuenctyd, a gobaith dy flyneddau cynyddol. Ofnodd anghen, ac o herwydd hyny, efe a orbrisiodd olud.*

16. Adwahannod, os bydd yr ymadrodd yn faith, a oddef ychydig o godiad yn y llais, a gorphwysiad tra y rhifir *un.*

Mewn amryw o'r rheolau a'r enghreifftiau blaenorol, rhaid sylwi yn ddyfal ar hyd darnau yr ymadrodd, a'r cyfatebiad sy rhwng y naill a'r llall o honynt. Ystyriaeth o synwyr unrhyw ymadrodd, ac o'r ymddywediad eglur, esmwyth o hono, a alluoga, fe dybir, gyda chynorthwy y rheolau blaenorol, y myfyriwr i gyfaddasu y gorphwysfâau priodol, a'r lleoedd i osod yr adwahannod i mewn.

## PENNOD II.—*Am Wahannod.*

Y gwahannod (;) a arferir i ddosparthu ymadrodd cyfansawdd yn ddwy neu ychwaneg o ranau, heb fod cysylltiad mor agos rhyngddynt a'r rhai a ddydolir gan yr adwahannod, nac ychwaith yn meddu can lleied ddibyniad ar eu gilydd a'r rhai hyny a renir gan y gorwahannod.

Arferir y gwahannod, weithiau, pan na rydd y darn blaenorol o'r ymadrodd gyflawn synwyr o hono ei hun, ond y gorphwys ar y dosparth canlynol: ac weithiau pan y byddai ystyr y darn hwnw yn gyflawn heb yr un terfynol; megys, *Fel y mae yr awydd i gymeradwyaeth, pan fydd yn gweithio yn ol rheswm, yn gwella y rhan brydweddol o'n rhywiogaeth yn mhob peth canmoladwy; felly nid oes dim yn fwy dinystriol iddynt, pan fydd yn cael ei lywodraethu gan wagedd ac oferedd.*

Gosodir yr attalnod hwn, weithiau, i wahanu ansawdd gwrthwynebol; megys, *Pob pren da, sydd yn dwyn ffrwythau da; ond pob pren drwg, sydd yn dwyn ffrwythau drwg.*

Gellir canfod y gwahaniaeth rhwng adwahannod a gwahannod, yn yr ymadrodd canlynol: *Pob un sydd yn gofyn, sydd yn derbyn; a'r neb sydd yn ceisio, sydd yn cael; ac i'r hwn sydd yn curo, yr agorir.*

Cedwir y llais yn ddiysgog wrth yr attalnod hwn, a gorphwysir tra y rhifir *dau.*

---

## PENNOD III.—*Am Orwahannod.*

Y gorwahannod (:) a arferir i ddosparthu ymadrodd yn ddwy neu ychwaneg o ranau, â llai cysylltiad rhyngddynt na'r rhai a ddydolir gan y gwahannod; ond heb fod mor annibynol ag ymadroddion eglur-wahanol.

Gellir gosod y gorwahannod yn briodol yn y tri cyflwr canlynol:—

1. Pan fydd darn o ymadrodd yn gyflawn ynddo ei hun, ond fod rhyw nodiad cyflawniadol, neu eglurhad pellach ar y pwnc, yn canlyn; megys, *Teimlodd natur ei hanalluogrwydd i ymryddhau oddiwrth ganlyniadau euogrwydd: yr efengyl sydd yn datguddio y cynllun o gyfryngiad a chynorthwy Dwyfol. Cyfaddefodd natur fod iawn yn anghenrheidiol: yr efengyl sydd yn amlygu fod yr iawn anghenrheidiol wedi cael ei wneud.*

2. Pan fydd amryw wahannodau wedi rhagflaenu, a gorphwysfa helaethach fyth yn anghenrheidiol i'r dyben o nodi yr ystyr cysylltiadol neu derfynol; megys, *Deddfroddwr Dwyfol, yn adrodd ei leferydd o'r nef; llywodraethwr hollalluog, yn estyn allan ei fraich i gospi neu wobrwyo; yn mynegu i ni am orphwysfa ddiddarfod wedi ei darparu ar ol hyn i'r cyfiawn, ac am lid a digofaint yn aros y drygionus: y rhai hyn ydynt yr ystyriaethau sydd yn cadw y byd mewn braw, yn cynal uniondeb, ac yn lluddias troseddau.*

3. Arferir y gorwahannod, yn gyffredin, pan fydd enghraifft, neu ddyfyniad, neu ddywediad rhyw un yn cael ei ddwyn i mewn; megys, *Y mae yr ysgrythyrau yn rhoddi i ni ddarluniad hawddgar o Dduw, yn y geiriau canlynol: "Duw cariad yw." Clywyd ef yn dywedyd yn fynych: "Yr wyf wedi darfod â'r byd, ac yn ewyllysgar i'w adael.*

Sefydlir y priodoldeb o ddefnyddio gorwahannod neu wahannod, weithiau, drwy waith cysylltiad yn cael ei grybwyll, neu fod heb ei grybwyll; megys, *Na wenieithiwch wrthych eich hunain gyd a'r gobaith am wynfyd perffaith: nid oes y fath beth yn y byd. Na wenieithiwch wrthych eich hunain gyd a'r gobaith am wynfyd perffaith;* o herwydd *nid oes y fath beth yn y byd.*

Gellir gostwng ychydig ar y llais wrth yr attalnod hwn, a gorphwys tra y rhifir *tri.*

---

## PENNOD V.—*Am Ddiweddeb.*

Y diweddeb (.) a arferir i nodi ymadrodd cyflawn ac annibynol, yr hwn nid yw yn gysylltiedig mewn cystrawen â'r ymadrodd canlynol.

Y mae rhai ymadroddion yn annibynol ar eu gilydd yn eu hystyr a'u cystrawen; megys, *Ofnwch Dduw. Anrhydeddwch y Brenin. Na ddymunwch ddrwg i un dyn ar y ddaear.* Ereill ydynt annibynol yn unig yn eu cystrawen lythyregol; megys, *Nid yw y Bod Goruchaf yn cyfnewid yn ei ewyllys i ychwanegu ein dedwyddwch, nac yn nghynllun ei lywodraeth. Y mae un goleuni yn tywynu arnom yn wastad oddi uchod.*

Gellir goddef diweddeb, weithiau, rhwng dau ymadrodd, er eu bod yn cael eu cyfuno â chysylltiad gwahaniadol neu gynglynol; o herwydd nid yw ansawdd y nod yn gorphwys yn wastad ar y geiryn cysylltiadol, ond ar ystyr a chystrawen ymadroddion; megys, *Efe, yr hwn sydd yn ymddyrchafu i sylw ac ystyriaeth y byd, sydd, o bawb, leiaf tebyg i ochelyd barn. O herwydd y mae yn tynu arno ei hun fil o lygaid, y rhai a'i gwyliant yn ddyfal yn mhob man.*

Gostyngir y llais wrth yr attalnod hwn gan ised ag y deallo y gwrandawyr fod yr ymadrodd blaenorol wedi ei gwbl orphen, a gellir attal y llais wrtho tra y rhifir *pedwar.*

Dylid defnyddio y diweddeb ar ol pob gair talfyredig, megys *hol.* am *holiad, at.* am *ateb, h. y.* am *hyny yw, bl.* am *blwyddyn,* &c. Hefyd *O. B.* am *oed y byd, O. C.* am *oed Crist, D. S.* am *dalier sylw,* &c.

## PENNOD VI.—*Am Linell, Gofyneb, Rhyfeddeb, Crwmfachau, &c.*

Y llinell, ( — ) er ei bod yn cael ei defnyddio yn anmhriodol gan ysgrifenwyr byrbwyll ac annghyson, a ellir ei dwyn i mewn, gyda phriodoldeb, pan fydd yr ymadrodd yn terfynu yn ddisymwth, neu pan fydd gorphwysfa gynwysfawr yn anghenrheidiol, neu pan fydd tro annisgwyliadwy yn synwyr y frawddeg; megys, *Os ti yw efe, a barched gymaint unwaith—ond, och! fel y syrthiaist! fel y'th ddirmygir! Os yw gweithredu yn gytun âg ewyllys ein Creawdwr—os yw ychwanegu dedwyddwch dynolryw o'n hamgylch—os yw diogelu ein gwynfyd ein hunain—yn bethau o'r pwys mwyaf; yna ynte gelwir yn uchel arnom i goleddu ac ehangu achos mawr crefydd a rhinwedd.*

Heblaw yr attalnodau a arwyddocant y gorphwysfâau mewn ymadrodd, y mae ereill sydd yn dynodi amrywiol gyweiriadau y llafar, er mwyn cydweddu â'r ystyr; sef,

| | |
|---|---|
| Y Gofyneb, | ? |
| Y Rhyfeddeb, | ! |
| A'r Crwmfachau, | ( ) |

### *Am y Gofyneb.*

Arferir gofyneb ar ddiwedd ymadrodd gofyniadol; hyny yw, pan fydd holiad yn cael ei gynyg; megys, *Beth a ddarfu i ti, O fôr, pan giliaist? tithau, Iorddonen, paham y troaist yn ol?*

Ffurfir holiad weithiau er mwyn dangos rhyw gymhariaeth; megys, *A weli di wr doeth yn ei olwg ei hun? gwell yw y gobaith am y ffol nag am hwnw.*

Holiadau a gynyg dyn iddo ei hun mewn dwys fyfyrdod, a ddylent gael eu terfynu â gofyneb; megys,

*Pwy addurnodd y nefoedd â'r fath brydferthwch odiaeth? Wrth orchymyn pwy y mae y ser gwibiog yn cyflawni eu cylch-dreigliadau dibaid?*

Anmhriodol yw gosod gofyneb ar ol ymadroddion nid ydynt holiadol, ond yn unig mynegol o ryfeddod, neu ryw gynhwrf meddwl arall; megys, *Pa faint o brofion sydd genym o ddiweirdeb a rhinwedd y rhywiogaeth brydweddol! Gyda pha gallineb y mae mab Sirac yn ein cynghori yn y dewisiad o'n cyfeillion!*

Ni ddylid defnyddio gofyneb mewn manau lle y dywedir yn unig fod holiad wedi cael ei gynyg, a lle nid ydynt y geiriau yn cael eu hadrodd fel gofyniad; megys, *Gofynasant y brodyr i mi, paham yr wylwn.* Er rhoddi i'r ymadrodd hwn ddull gofyniad, dylai gael ei osod allan fel hyn; *Dywedasant y brodyr wrthyf, Paham yr wyli?*

Dylid attal y llais wrth y nod hwn, fynychaf, cyhyd â diweddeb; ac arwyddocau, drwy godiad a bywiogrwydd y sain, mai holiad fydd y geiriau. Dylai y lleisbwys hefyd fod ar y gair hwnw i ba un y perthyn yr ateb.

### *Am y Rhyfeddeb.*

Gosodir y rhyfeddeb wrth ymadroddion a fynegant gynhwrf disymwth yn y meddwl, syndod aruthrol, llawenydd, gofid, &c., ac hefyd wrth amweddiau ac anerchiadau; megys, *Ofnadwy a rhyfedd y'm gwnaed! Mor gryfion yw geiriau uniondeb! Y mae cenedlaeth, O mor uchel yw ei golwg! a'i hamrantau a ddyrchafwyd.*

Mewn rhai achosion, anhawdd yw gwahaniaethu rhwng ymadrodd yn arwyddocau gofyniad neu ryfeddod; ond gellir bob amser, yn briodol, derfynu ymadrodd yn yr hwn y mynegir unrhyw syndod neu ryfeddod, ac heb un ateb yn cael ei ddysgwyl neu gynwys, â

rhyfeddeb; megys, *Pa faint o wagedd sydd yn erlyniadau dynion! Pwy a ddichon ddatgan yn ddigonol ddaioni ein Creawdwr! Beth sydd yn fwy hawddgar na rhinwedd!*

Ymddengys defnyddioldeb y gofyneb a'r rhyfeddeb oddiwrth y cynlluniau canlynol, yn mha rai yr arwyddoceir ac y gwahaniaethir yr ystyr yn gyfangwbl gan eu nodau:—

| | |
|---|---|
| Pa mor fawr oedd yr aberth? | Pa fath ymddarostyngiad? |
| Pa mor fawr oedd yr aberth! | Pa fath ymddarostyngiad! |

Gorphwysir wrth y nod hwn yn nghylch cyhyd a diweddeb; a dylai llais y darllenydd fod mewn cywair cyfatebol i anian yr ymadrodd.

### *Am y Crwmfachau.*

O fewn crwmfachau y gosodir dosparth o ymadrodd a fyddo yn cynwys rhyw hysbysrwydd anghenrheidiol, neu nodiad defnyddiol, wedi ei ddwyn i mewn i gorph yr ymadrodd mewn dull annghyfeiriol, ac a ellir ei adael allan heb niweidio y gystrawen lythyregol; megys, *A rhai o'r Saduceaid (y rhai sydd yn gwadu nad oes adgyfodiad) a ddaethant ato ef. Oni wyddoch chwi, frodyr, (canys wrth y rhai sydd yn gwybod y ddeddf yr wyf yn dywedyd,) fod y ddeddf yn arglwyddiaethu ar ddyn tra fyddo efe byw.*

Os bydd y dosparth damweiniol yn fyr, neu yn cydgyfarfod yn berffaith â'r hyn sydd yn ol o'r ymadrodd, nid yw gymhwys i ddefnyddio y nodau crwmfachol. Y cynlluniau canlynol ydynt, gan hyny, yn arferiadau anmhriodol o'r crwmfachau; megys, *Llefarwch chwi (y rhai a welsoch) ei ryfeddodau yn y dyfnder. Efe a'u cafodd hwy yn cysgu drachefn; (canys yr oedd eu llygaid hwy wedi trymhau:) ac ni wyddent beth i ateb iddo.*

Y mae y crwmfachau yn nodi gostyngiad cymedrol yn y llais: a gellir eu dylyn â phob attalnod a ofynai y synwyr pe gadewid y nodau crwmfachol heibio. Rhaid i ni, modd bynag, eithraw y nodau gofyneb a rhyfeddeb; megys, *Tra y maent yn ewyllysio rhyngu bodd, (a phaham na ddylent ewyllysio hyny?) hwy a ddiystyrant foddion dianrhydeddus. Gosodwyd ef allan drwy gyffelybiaeth (O, mor annghyfatebol!) wedi ei benthycio oddiwrth goelgrefydd y cenedloedd.*

---

Y mae nodau ereill a ddefnyddir yn fynych mewn cyfansoddiad, ac a ellir eu hegluro yn y lle hwn; sef,

1. SILLGOLL ( ' ) a arferir i dalfyru gair drwy dori llythyren neu sill allan o hono; megys, *gwas'naethu,* am *gwasanaethu:* hefyd i wasgu dau air yn un; megys, *y rhai'n,* am *y rhai hyn.*

2. GWALLNOD ( ‸ ) a osodir lle y dygwydd fod rhyw air, sill, neu lythyren wedi eu gadael allan o ysgrifen, mewn annghof neu gamsyniad, a'r nod hwn a roddir dan y llinell lle y dylai yr hyn sydd allan fod; megys,

yn<br>Y diog i ddigofaint sydd ‸ llawn o synwyr.

Y mae y nod hwn hefyd yn cael ei alw yn acen amgylchedig pan osodir ef uwch ben llafariad neillduol i ddynodi sill hirlaes; megys, *lleshâd.*

3. CYSYLLTNOD ( - ) a ddefnyddir i gyfuno geiriau cyfansoddedig; megys, *gorsedd-fainc, priodas-gerdd,* y rhai a seinir yn unllais, ac nid ar wahan. Arferir y nod hwn pan fydd gair yn cael ei ranu, y rhan flaenaf yn cael ei hysgrifenu, neu ei hargraffu, ar ddiwedd un llinell, a'r rhan olaf ar ddechreu un arall. Pan y mae felly, gosodir ef ar ddiwedd y llinell gyntaf, nid ar ddechreu yr ail.

4. DYDOLNOD ( ¨ ) sydd yn gynwysedig o ddau nodyn wedi eu gosod uwch ben un o'r ddwy lafariad, y rhai mewn modd amgen a wnaethent ddeuseiniad, i'w gwahanu yn ddwy sill; megys, *ïe, tëyrn.*

5. DOSPARTHNOD ( § ) a arferir i ranu ymadrodd, neu bennod, yn ddosparthiadau llai.

6. GWAHANAI ( ¶ ) sydd yn dynodi dechreuad testyn newydd, neu ymadrodd heb fod yn gysylltiedig â'r un blaenorol. Arferir yr arwydd hwn yn benaf yn y Bibl.

7. RHAGWAHANDRO ( " " ). Dau adwahannod gwrthdroedig a osodir, yn gyffredin, ar ddechreu ymadrodd neu ddywediad a fo wedi cael ei ddyfynu neu adysgrifenu oddiwrth y llefarwr neu awdwr yn ei eiriau ei hun, a dau adwahannod yn eu cyflead cywir a osodir ar y terfyn; megys, "*Goreu cof, cof llyfr.*"

8. MYNEGFYS ( ☞ ) a arferir i gyfeirio at ryw ymadrodd hynod, neu beth a fyddo yn haeddu sylw ac ystyriaeth manylaf y darllenydd.

9. CYPLYSNOD ( ⁀‿⁀ ) a arferir fynychaf mewn barddoniaeth, i gydio llinellau yn nghyd a fyddont yn cyd-gynghaneddu.

10. SERENIG ( * ) a arferir i gyfeirio y darllenydd at ryw nodiad ar ymyl y ddalen, neu yn y gwaelod. Dwy neu dair o honynt yn nghyd ydynt, yn gyffredin, yn dynodi fod rhyw lythyrenau mewn gair wedi eu gadael allan, neu ryw ymadrodd hyf ac anfoesol, neu fod rhyw ddiffyg yn y llaw-ysgrifen.

11. DIFFYG-LINELL ( —— ) a arferir hefyd pan adewir rhyw lythyrenau allan mewn gair, neu air mewn ymadrodd; megys, y *B——n*, am y *Brenin.*

12. Y BIDAG ( † ), y BER ( ‡ ), y LLINELLAU DYBLYG ( ‖ ), llythyrenau yr egwyddor, yn nghyda rhifnodau, a arferir fel cyfeiriadau at ymyl neu waelod y tu dalen.

Gan nad yw rheolau gwahannodiad wedi eu sefydlu yn ddisigl, eithr yn ymddibynu yn fawr ar ewyllys a dewisiad yr ysgrifenydd, mae yn amlwg, yn nesaf at gysondeb a chyfansoddiad trefniadol geiriau, nad oes dim a ddengys eglurdeb ymadrodd yn well na gwahannodi yn gywir: heb hyn, geill gwaith cyfansoddydd da fod yn dywyll, ac un gwael yn llwyr annealladwy.

---

## PENNOD VII.—*Cyfarwyddiadau mewn perthynas i arfer y Prif Lythyrenau.*

Prif lythyrenau mewn ymadroddion a arferir ar yr achosion canlynol:—

1. Yn y gair cyntaf o bob llyfr, pennod, llythyr, adnod, sylwad, neu unrhyw ddarn arall o ysgrifen.

2. Yn y gair cyntaf ar ol diweddeb; ac, os bydd y ddau ymadrodd yn gwbl annibynol, ar ol nod o ryfeddod a gofyniad. Eithr os bydd lluaws o ymadroddion yn cynwys gofyniad neu ryfeddod, wedi eu cyfleu yn un pentwr cyffredinol, neu os bydd cystrawen yr ymadroddion diweddaf yn gorphwys ar y blaenaf, gallant oll, oddieithr y cyntaf, ddechreu â llythyren fechan; megys, *Pa hyd, chwi ynfydion, y cerwch ynfydrwydd? a chwi watwarwyr, y bydd hoff genych watwar? ac y casâ ffyliaid wybodaeth? Och! mor wahanol! eto mor gyffelyb i'r unrhyw!*

3. Yn nechreuad pob un o enwau ein Creawdwr; megys, *Duw, Iehofah, yr Hollalluog, y Bod Goruchaf, Rhagluniaeth, y Messiah, yr Ysbryd Glân.*

4. Yn nechreuad enwau priodol dynion, lleoedd, heolydd, mynyddoedd, afonydd, llongau, celfyddydau, creaduriaid, a phob math o swyddau; megys, *Sior, Aberystwyth, Pumlumon, Rheidol, y Morfarch.*

5. Yn nechreuad enwau gweinion tarddedig o enwau priodol lleoedd; megys, *Groegaidd, Rhufeinaidd, Cymreig, Seisonig, Ffrengig, Italaidd.*

6. Yn y gair cyntaf o waith awdur arall, a ddarweiniwyd i mewn ar ol gorwahannod, neu pan fydd mewn dull uniongyrchiol; megys, *Bob amser cofia yr hen ymadrodd profedig hwn: Adnebydd dy hun. Ein Deddfroddwr mawr a ddywed, Cyfod dy groes beunydd, a chanlyn fi.* Ond pan ddygir dywediad un arall i mewn yn annghyfeiriadol ar ol adwahannod, y mae prif lythyren yn ddianghenrhaid; megys, *Selyf a sylwa, fod balchder yn myned o flaen dinystr.* Dichon y gair cyntaf o ryw enghraifft ddechreu, yn dra phriodol, â phrif lythyren; megys, *Deniadau a brofant ein rhinwedd.*

7. Yn nechreuad pob gair hynod a phwysfawr mewn ymadrodd; ac hefyd dylai y cyfryngiad *O* fod bob amser yn brif lythyren.

8. Yn y gair cyntaf o bob llinell mewn prydyddiaeth.

Pan fyddo gair neu ymadrodd yn brif lythyrenau oll, megys, *YDWYF YR HWN YDWYF,* dealler ei fod yn arwyddo rhyw fawredd neillduol. Cofier hefyd am y llythyrenau Italaidd arferedig mewn adnodau yn y Bibl, eu bod wedi eu hychwanegu gan y cyfieithwyr, er mwyn deongli yr ieithoedd gwreiddiol yn fwy eglur a dealladwy yn ein hiaith ni.

---

## PENNOD VIII.—*Cyfarwyddiadau i Ddarllain gyda phriodolder a gweddusder.*

Y pethau penaf i sylwi arnynt tuag at ddarllain yn ddeallus, yw, GORPHWYSIAD, ACENIAD, LLEISBWYS, a DISGYNSAIN.

### 1. *Am y Gorphwysiadau.*

Gorphwysiadau wrth lefaru a darllain, ydynt attaliadau cyfangwbl o'r llais dros ysbaid amgyffredol, ac, mewn llawer achos, mesuredig, o amser.

Y mae gorphwysfâau mor anghenrheidiol i'r llefarwr ag i'r gwrandawydd. I'r llefarwr, fel y cymero ei anadl, heb yr hyn ni ddichon iddo fyned yn mlaen yn mhell mewn parabliad; ac fel y gallo, drwy y gorphwysiadau amserol hyn, esmwythau ar y llafar-beiriannau, y rhai, pe amgen, a ymflinent yn fuan drwy weithrediad didor. I'r gwrandawydd, fel y byddo i'r glust hefyd gael ei hesmwythau oddiwrth y lludded, yr hwn, heb hyny, a ddyoddefai oddiwrth barhad diymbaid y swn; ac fel y gallo y deall gael amser digonol i nodi gwahanrediad yr ymadroddion, a'u hamrywiol ranau.

Y mae dau fath o orphwysiadau: yn gyntaf, gorphwysiadau lleisbwysol; ac, yn nesaf, y cyfryw ag a ddynodant amrywiaethau yr ystyr. Gwneir gorphwysiad lleisbwysol wedi fod rhywbeth o bwys neillduol yn cael ei draethu, ac at ba un yr ydym yn chwennych cyfeirio ystyriaeth y gwrandawydd. Weithiau, cyn y dywedir y cyfryw beth, arweiniwn ef i mewn gyda gorphwysiad o'r natur yma. Y cyfryw orphwysiadau a feddant yr un effaith a lleisbwysiad trwm, ac y maent yn ddarostyngedig i'r unrhyw reolau, yn enwedig i'r rhybydd o beidio eu had-wneuthur yn fynych. Canys, gan eu bod yn cyffroi sylw annghyffredin, ac, o ganlyniad, yn achlysuro dysgwyliad, oni bydd pwys y mater yn cyfateb yn gyflawn i'r cyfryw ddysgwyliad, y maent yn peri siomedigaeth ac anfoddlonedd.

Eithr arferiad penaf a mynychaf gorphwysiadau sydd er nodi rhaniadau yr ystyr, ac, ar yr un amser, i ganiatau i'r llefarwr gymeryd ei anadl; ac y mae trefniad priodol

a destlus y cyfryw orphwysiadau, yn un o'r pethau mwyaf dichlynaidd ac anhawdd mewn parabliad. Mewn pob math o ddarlleniad ac areithyddiaeth, y mae triniad yr anadl yn gofyn cryn lawer o ofal, fel ag i beidio gosod anghenrhaid arnom i wahanu geiriau oddiwrth eu gilydd, y rhai sydd a chysylltiad mor agos rhyngddynt fel y dylent gael eu traethu â'r un anadliad, ac heb y gwahaniad lleiaf. Anafir amryw ymadroddion yn druenus, a llwyr gollir grym y lleisbwys, drwy wneuthur y gwahaniadau mewn lleoedd annghymhwys. Er gochelyd hyn, dylai pob un, tra fyddo yn llefaru neu ddarllain, ofalu llawer i ragddarparu cyflawnder dibrin o anadl gogyfer a'r hyn ag sy ganddo i'w draethu. Camsyniad mawr yw dychymygu na ddylid cymeryd anadl yn unig ond ar ddiwedd ymadrodd, pan y caniateir i'r llais ostwng. Gellir ei gasglu yn hawdd yn yr encyd rhwng y diweddnodau, lle yr attelir y llais ond am fynydyn; a, thrwy y dull hwn, geill un yn oestad gael ystôr digonol o anadl i ddwyn yn mlaen yr ymadrodd hwyaf, heb rwystrau anmhriodol.

Dylid ffurfio gorphwysiadau wrth ddarllain ac ymadroddi yn gyhoeddus, yn ol y dull y byddwn yn mynegu ein meddyliau mewn ymddyddanion cyffredin synwyrol; ac nid yn ol y dull anhyblyg celfyddydol a gyrhaeddwn wrth ddarllain llyfrau yn ol y gwahannodiad cyffredin. Nid ydyw mewn un modd yn ddigonol i sylwi ar y nodau a arferir wrth argraffu; o herwydd y mae y rhai hyn yn mhell o amlygu yr holl orphwysiadau a ddylid wneud wrth lefaru. Sylwad diesgeulus ar y gorphwysiadau hyn, sydd wedi bod, ysgatfydd, yn un achos o undônyddiaeth, drwy arwain y darllenydd i gyffelyb dôn ar bob attalnod, a disgyniad unffurfiol yn y sain ar bob diweddeb. Prif ddefnydd yr attalnodau yw cynorthwyo y darllenydd i ganfod y gystrawen lythyr-

egol; ac nid yw llywodraethu ei barabliad yn unig ond ail wrthddrych iddynt.

Er peri fod y gorphwysiadau yn hyfryd a chynwysfawr, rhaid eu gwneud nid yn unig yn yr iawn le, eithr hefyd fod sain briodol o'r llais yn cydfyned â hwynt, drwy yr hyn yr arwyddoceir natur y gorphwysiadau hyn; lawer mwy na thrwy eu hyd, yr hyn nid ellir ond anfynych ei fesur yn gywir. Weithiau, attaliad byr o'r llais yn unig sydd yn briodol; weithiau, gofynir gradd o ddisgyniad yn y llais; ac weithiau, y dôn neillduol hono a'r disgyniad yn y llais a ddynodant fod yr ymadrodd wedi ei orphen. Yn yr holl achosion hyn, yr ydym i lywodraethu ein hunain drwy ystyried y dull y dysg anian ni i lefaru pan wedi cychwyn ymddyddan gwirioneddol a difrifol âg ereill.

Y mae yn rheol gyffredinol, fod y gorphwysiad attaliol i gael ei ddefnyddio pan fydd yr ystyr yn annghyflawn; a'r gorphwysiad diweddol, pan fydd wedi ei orphen. Ond y mae ymadroddion, yn mha rai, er fod yr ystyr yn annghyflawn, eto cymer y llais y gorphwysiad diweddol yn hytrach na'r attaliol; ac ereill, yn mha rai y diwedda yr ymadrodd gyd a'r gorphwysiad attaliol.

Dylid peidio cyd-gymysgu y gorphwysiad diweddol â'r disgyniad hwnw yn y llais ag y mae amryw ddarllenyddion yn unwedd yn terfynu eu hymadroddion âg ef. Nid oes dim yn fwy dinystriol i briodoldeb a nerth ymadrodd na'r arferiad hwn. Dylai tonau a throadau y llais ar ddiwedd ymadrodd, gael eu hamrywio yn ol natur gyffredinol yr ymddyddan, a chyfansoddiad ac ystyr neillduol yr ymadrodd. Mewn adroddiad diaddurn o beth, ac yn enwedig mewn ymresymiad, ychydig sylw o'r dull yn yr hwn yr adroddwn ryw wirionedd, neu y cynaliwn ddadl, mewn ymddyddan, a ddengys fod yn fynych yn fwy priodol dyrchafu y llais na'i ostwng ar

ddiwedd ymadrodd. Y mae rhai ymadroddion wedi eu cyfansoddi yn y fath fodd fel y gofyn y geiriau diweddaf drymach lleisbwys na neb o'r rhai blaenorol, tra y goddef ereill eu gorphen mewn sain araf, fwynaidd. Llo nid oes dim yn yr ystyr yn gofyn fod y sain ddiweddaf yn ddyrchafedig neu bwysig, bydd disgyniad esmwyth, digonol i amlygu fod yr ystyr yn orphenedig, yn briodol. Ac mewn darnau serch-ddeffrous o ymadrodd, yn enwedig rhai cwynfanus, tyner, neu ddifrif-ddwys, bydd tôn cynhyrfiad y meddwl, yn fynych, yn gofyn disgyniad îs fyth yn y llais. Y drefn oreu i ddiwygio disgyniad unffurfiol y llais, ydyw darllain yn fynych *ymadroddion detholedig*, yn mha rai y bydd yr iaith yn bigawglem, a *gwrthosodiadau* wedi eu dwyn i mewn yn fynych iddynt; a darnau rhesymiadol, neu gyfryw ag ydynt lawn o arholion, neu ddolefau taerlew.

## 2. *Am yr Aceniad.*

Trwy gyfeirio yn ol at tu dalen 32, cenfydd y darllenydd ein bod wedi traddodi darlith helaethlawn ar y pwnc uchod; ac felly bernir mai difudd ydyw ail-adrodd y sylwadau a wnaed yno, yn y lle hwn.

## 3. *Am y Lleisbwys.*

Wrth leisbwys y meddylir sain cryfach a llawnach y llais, drwy ba un y gwahaniaethwn ryw air neu eiriau y bwriadwn osod pwys neillduol arnynt, ac i ddangos pa fodd y gwasgant ar y rhelyw o'r ymadrodd. Weithiau rhaid gwahaniaethu y geiriau pwysig hyn gyda thôn neillduol o'r llais, yn gystal a chyda mwy o rym.

Ar iawn-driniaeth y lleisbwys y mae bywyd llefariad yn ymddibynu. Oni osodir y lleisbwys ar unrhyw air, nid yn unig gwneir ymddyddan yn drymllyd a difywyd, ond gadewir meddwl yr ymadrodd yn fynych mewn an-

mheuaeth. Os camosodir y lleisbwys, gwyrdrown a dyryswn y meddwl yn hollol. Cynllun cyffredin a amlyga hyn. Gall y fath ofyniad syml a hwn, *A ydych chwi yn marchogaeth i'r dref heddyw?* gynwys dim llai na phedwar o wahanol ystyriaethau, yn ol y gwahanol ddull o osod y lleisbwys ar y geiriau. Os ei llefarir fel hyn, A ydych *chwi* yn marchogaeth i'r dref heddyw? geill yr ateb fod yn naturiol, Nac ydym, eithr anfonwn was yn ein lle. Os fel hyn, A ydych chwi yn *marchogaeth* i'r dref heddyw? atebir, Na, yr ydym yn bwriadu rhodio. A ydych chwi yn marchogaeth i'r *dref* heddyw? Na, yr ydym yn marchogaeth i'r wlad. A ydych chwi yn marchogaeth i'r dref *heddyw?* Nac ydym, eithr gwnawn felly y fory. Yn y cyffelyb fodd, mewn ymddyddanion difrifol, y mae holl nerth a phrydferthwch yr ymadrodd yn ymddibynu ar y gair pwysig; a gallwn gyflwyno i'r gwrandawyr olygiadau cwbl wahanol ar yr un syniadau, drwy gyfnewid y lleisbwys. Yn y geiriau canlynol o eiddo ein Hiachawdwr, sylwer pa olygiadau gwahanol a drosglwyddir i'r meddwl, yn ol fel y llefarir y geiriau: *Judas, ai â chusan yr wyt ti yn bradychu Mab y dyn? Ai â chusan,* sydd yn troi pwys y gwaradwydd ar ei waith yn gwael-ddarostwng arwyddnod heddwch a chyfeillgarwch i ddybenion dinystriol a cholledigol. Ai â chusan yr wyt *ti,* sydd yn peri iddo orwedd ar gyd-berthynas Judas â'i Feistr. Ai â chusan yr wyt ti yn *bradychu,* sydd yn ei osod ar yr anair o fradwriaeth. Ai â chusan yr wyt ti yn bradychu *Mab y dyn?* sydd yn ei adael i orphwys ar nodwedd priodol ac enwogrwydd ein Hiachawdwr.

Y mae y lleisbwys yn gorwedd yn fynych ar y gair a gynyg holiad; megys, *Pwy* ddywedodd felly? *Pa bryd* y daw efe? *Pa beth* a wnaf? *Paham* yr wyli? A phan osodir dau air mewn cyferbyniad neu wrthwyneb-

iad i'w gilydd, byddant eill dau yn bwysig; megys, *Gorthrymydd*, ac nid *tad*, ei bobl yw efe. Y mae ei ddeiliaid yn ei *ofni* ef, ond nid ydynt yn ei *garu*.

Y mae rhai ymadroddion mor llawn a chynwysfawr, fel y bydd bron bob gair ynddynt yn bwysig; megys, *Chwi fryniau a dyffrynoedd, chwi afonydd, coedydd, a gwastadedd;* neu yr ymresymiad serch-gyffrous hwnw yn mhrophwydoliaeth Ezeciel, *Paham y byddwch feirw!* Yn yr ymadrodd byr diweddaf hwn, y mae pob gair yn bwysig; ac ar ba air bynag y gosodwn y pwys, ai ar y cyntaf, yr ail, y trydydd, neu y pedwarydd, y mae yn cyfleu ystyr gwahanol, ac yn agor testyn newydd o ymedliwiad cynhyrfus.

Fel y mae acen yn hynodi y sill ar ba un ei gosodir, ac yn peri i'r glust ei chlywed yn fwy croyw-eglur na'r lleill; felly y mae y lleisbwys yn ardderchogi y gair i ba un y perthyna, ac yn ei gyflwyno mewn goleuni cryfach i'r deall. Pe na byddai acenion, dattodid geiriau i'w sillau cysefin; ac o'r tu arall, pe na byddai lleisbwys, dadgysylltid ymadroddion i'w geiriau dechreuol; ac, fel hyn, byddai y gwrandawydd dan yr anghenrheidrwydd poenus, yn gyntaf, o olrhain y geiriau, ac wedi hyny, eu hystyr.

Lleisbwys sydd o ddau fath, sef unigol a chyfansawdd. Unigol, pan fydd yn gwasanaethu i nodi ystyr amlwg unrhyw gyfansoddiad yn unig; cyfansawdd, pan, heblaw yr ystyr, y bydd yn nodi hefyd ryw serch neu gynhwrf yn y meddwl, neu yn rhoddi ystyr i eiriau yr hwn ni feddant yn eu harwyddocad arferol. Yn yr achos blaenorol, nid yw lleisbwys braidd yn ychwaneg nag aceniad trymach, gyd ag ychydig neu ddim cyfnewidiad yn y sain neu oslef; ond pan fydd yn gyfansawdd, heblaw grym, y mae hefyd gyfnewidiad amlwg yn y dôn yn cael ei ychwanegu yn wastad.

Yr ymadrodd canlynol a gynwys gynllun o leisbwys unigol:—A dywedodd Nathan wrth Dafydd, ***Ti*** yw y gwr. Y lleisbwys ar *ti*, a wasanaetha yn unig i nodi meddwl y llefarydd. Eithr yn yr ymadrodd canlynol, canfyddwn gyffroad yn meddwl y llefarydd wedi ei orychwanegu at yr ystyr unigol:—***Paham y byddwch feirw?***

Fel y syrthia y lleisbwys yn fynych ar eiriau mewn gwahanol ranau o'r un ymadrodd, felly gofynir iddo yn fynych gael ei barhau, gyd ag ychydig amrywiaeth, ar ddau, ac weithiau ar dri gair olynol. Yr ymadrodd canlynol a eglura ddwy ran y gosodiad hwn:—Os chwennychwch wneuthur un yn *gyfoethog*, nac ymgeisiwch i *ychwanegu ei ystôr*, eithr i *leihau ei ddymuniadau.* Gellir dosparthu lleisbwys yn mhellach, i leisbwys ysgafn a thrwm. Yn yr ymadrodd,. *Gwaith a chymedrolder a gryfhant ansawdd y corph*, ni a ganfyddwn fwy o rym ar y gair *cryfhant*, nag ar un arall; er nad yw gymaint a'r pwys a osodir ar y gair *canolig*, yn yr ymadrodd canlynol:—Gwaith a chymedrolder a gryfhant hyd y nod gyfansoddiad *canolig.* Hefyd, priodol ydyw sylwi, fod y geiriau *gwaith*, *cymedrolder*, ac *ansawdd corph*, yn yr enghraifft ddiweddaf ond un, yn cael eu llefaru gyda mwy o nerth na'r llythyrenau *a* ac *y;* ac eto nid ellir galw y geiriau hyny yn bwysig, o herwydd nid yw y pwys a osodir arnynt yn fwy na digon i drosglwyddo meddwl pob gair yn groyw-eglur.—Oddiwrth y sylwadau hyn, ymddengys fod y rhanau lleiaf o ymadrodd, sef y bannodau, y cysylltiadau, yr arddodiadau, &c., yn gyffredin, yn cael eu llefaru yn anamlwg ac ysgafn; fod yr enwau cedyrn, y parwyddiaid, a'r geiriau mwyaf ystyrbell, yn cael eu seinio yn nerthol ac eglur; ac fod y geiriau pwysig, y rhai a ddynodant feddwl yr ymadrodd, yn cael eu traethu gyda phwys ac

egni neillduol, er eu bod yn amrywio yn ol gradd eu pwysfawredd.

I'r dyben o gyrhaedd iawn-driniaeth y lleisbwys, y rheol fawr, ac yn wir yr unig reol a ellir ei rhoddi, yw, fod i'r llefarwr neu ddarllenydd geisio cyrhaedd amgyffred cywir o rym ac ystyr y syniadau y mae efe i'w traethu. O herwydd y mae gosod y lleisbwys gyda phriodoldeb cywir, yn ymarferiad parhaus o synwyr treiddgar ac ystyriaeth. Y mae yn mhell o fod yn gyrhaeddiad digyfrif; eithr yn un o'r profion amlycaf o archwaeth uniawn a chywir; a rhaid iddo ddeillio oddiar deimlad tyner ynom ein hunain, a barn gynnil pa beth sy gymhwysaf i daraw teimladau ereill.

Y mae un amryfusedd y bernir yn gymhwys neillduol i rybyddio y dysgadur rhagddo, sef lluosogi geiriau pwysig yn ormodol. Trwy arferiad synwyrol o honynt yn unig, y gallwn roddi iddynt unrhyw bwys. Os ymgyrchant yn rhy fynych; os bydd areithiwr neu ddarllenydd yn ymgeisio i wneud pob gair a lefaro o fawr ganlyniad, drwy luaws o leisbwysau trymion, ni a ddysgwn yn fuan i dalu ond ychydig sylw iddynt. Pentyru pob ymadrodd â geiriau pwysfawr, sy fel pentyru dail llyfr â llythyrenau Italaidd, yr hyn, o ran yr effaith o hono, sydd yr un fath a phe nad arferid y cyfryw wahaniaethiad oll.

## 4. *Am y Disgynsain.*

Y disgynsain sydd wahanol oddiwrth y lleisbwys a'r gorphwysiadau, ac y mae yn gynwysedig yn nghyweiriad y llais, a'r nodau neu yr amrywiaethau sain a ddefnyddiwn i fynegu ein syniadau.

Y lleisbwys a gyrhaedd eiriau ac ymadroddion neillduol gyda gradd o dôn neu droad yn y llais; eithr y mae y disgynsain yn cyrhaedd ymadroddion, gwahan-

ranau o areithiau, ac weithiau hyd y nod ymddyddanion cyfain.

Er dangos defnydd ac angenrheidrwydd disgynsain, ni raid i ni ond sylwi, fod y meddwl, wrth wneuthur ei amgyffredion yn adnabyddus, mewn cyflwr parhaus o fywiogrwydd, cyffroad, neu gynhyrfiad, oddiwrth y gwahanol effeithiau a bâr yr amgyffredion hyny ar y llefarwr. Yn awr, gan mai dyben y cyfryw fynegiad yw, nid yn unig gosod yr amgyffredion yn agored, eithr hefyd yr amrywiol deimladau a gyffroir ganddynt yn y traethadur, rhaid fod arwyddion ereill, heblaw geiriau, i amlygu y teimladau hyny; gan nad all geiriau a lefarir mewn dull undonaidd, ond yn unig gosod allan gyflwr cyffelyb o eiddo y meddwl, yn berffeith-gwbl rydd oddiwrth bob bywiogrwydd neu gynhyrfiad. Gan fod cyfraniad o'r teimladau tufewnol hyn o lawer mwy canlyniad yn ein hymgystlyniaeth cymdeithasol, na throsglwyddiad syniadau yn unig, ni wnaeth Awdwr ein hanfod, fel yn y trosglwyddiad hwnw, adael dychymygiad iaith yn dynodi cyffroad y meddwl, i ddyn; ond a'i hargraffodd ei hun ar ein natur yn gyfunddull a'r rhelyw o'r anifeiliaid, y rhai ydynt oll yn traethu eu hamrywiol deimladau drwy donau gwahanol. Y mae ein heiddo ni yn wir, oddiwrth y radd uwch a feddiannwn, yn llawer mwy cynwysfawr; gan nad oes gymaint a gweithred o eiddo y meddwl, ymegniad yn y dychymyg, neu gynhyrfiad yn y galon, heb nod lleisiol, drwy yr hwn ei gosodir allan, ac wedi ei gyfaddasu yn gywir at radd y teimlad tufewnol. Yn y defnyddiad priodol o'r tonau hyn, yn benaf, y mae bywyd, ysbryd, prydferthwch, a chysondeb parabliad yn gynwysedig.

*Serch* a osodir allan gyda sain esmwyth, araf, a hynaws; *digllonedd*, gyda sain cryf, llym, ac angerddol; *llawenydd*, gyda sain fywiog, hyawdl, a melusber;

*tristwch*, gyda sain isel, athrist, a galarus; *ofn*, gyda sain arswydol, llesg, a chrynedig; *dewrder*, gyda sain hyderus, diarswyd, a dyrchafedig: ac felly pob cyffroad arall yn gyfatebol i'w anian.

Geill dyfyniadau o alarnad brydferth Dafydd uwch ben Saul a Jonathan, fod yn ddefnyddiol fel cynllun i egluro yr hyn a ddywedwyd ar y pwnc hwn.

*O ardderchogrwydd Israel, efe a archollwyd ar dy uchelfaoedd di: pa fodd y cwympodd y cedyrn!*

*Nac adroddwch hyn yn Gath; na fynegwch hyn yn heolydd Ascelon: rhag llawenychu merched y Philistiaid, rhag gorfoleddu o ferched y rhai dienwaededig.*

*O fynyddoedd Gilboa, na ddisgyned arnoch chwi wlith na gwlaw, na maesydd o offrymau: canys yno y bwriwyd ymaith darian y cedyrn yn ddirmygus, tarian Saul, fel pe buasai heb ei eneinio âg olew.*

Y gyntaf o'r rhanau hyn a esyd allan dristwch a galar; am hyny y mae y sain yn isel. Y nesaf a gynwys archiad bywiog, a dylai gael ei llefaru yn llawer uwch. Yr ymadrodd arall, lle y gwna efe gyfeiriad serch-ddeffrous at y mynyddoedd ar ba rai y lladdwyd ei gyfeillion, sy raid ei ddatgan mewn sain llwyr wahanol oddiwrth y ddau flaenaf; sef, nid mor isel a'r cyntaf, nac ychwaith mor uchel a'r ail, ond mewn llais gwrol, grymus, ac eto cwynfanus.

Nid yw yr iaith gywir a naturiol hon o eiddo cynhyrfiadau y meddwl, mor anhawdd ei chyrhaedd ag y dychymyga y rhan fwyaf o ddarllenwyr. Os treiddiwn i ysbryd syniadau yr awdwr, yn gystal ag i feddwl ei eiriau, ni fethwn draddodi ei eiriau mewn sain amrywiedig priodol. O herwydd nid oes ond ychydig bobl na fedrant wneud defnydd addas o'r lleisbwys, y gorphwysiadau, a'r disgynsain, pan fyddant yn traethu eu meddyliau mewn ymddyddan difrifol: a'r achos nad allant wneud

yr un defnydd o honynt wrth ddarllain meddyliau ereill yn uchel, a ellir ei briodoli i'r dull tra diffygiol a chyfeiliornus, yn mha un y dysgir y gelfyddyd o ddarllain; drwy yr hyn y mae holl amrywiol seiniau naturiol ac ystyrfawr ymadrodd yn cael eu mogi, ac ychydig o ddarllain-nodau celfyddydol, diystyr, yn cael eu gosod yn eu lle.

Ond pan ydym yn gorchymyn i ddarllenwyr ystyried tôn ac iaith cyffroadau y meddwl, rhaid deall ein bod yn gwneud hyny gyda therfyniad priodol. Cymedrolder sydd anghenrheidiol yn y pwnc hwn, fel mewn pethau ereill. O herwydd pan fydd darllain yn myned megys yn ddynwaredol, y mae yn cymeryd dull chwareyddol, a rhaid iddo fod yn dra annghymhwys, yn gystal a rhoddi tramgwydd i'r gwrandawyr; o herwydd y mae yn annghyson â'r dillynder a'r gorchwyledd hwnw, ag sydd, ar bob achlysur, yn anhebgorol.

---

## PENNOD IX.—*Sylwadau Beirniadol ar y Cyfieithiad Cymreig o'r Bibl, ac ar yr Iaith yn gyffredinol.*

Nid yw ymdrin â phethau yn niweidiol, oni wneir hyny mewn modd anaddas. Tywys ymchwiliad i ddiwygiad, ac y mae diwygiad yn lleshad: felly, hyderir na fydd ychydig eiriau ar y pen uchod yn annerbyniol gan y darllenydd.

Addefir gan bawb dynion gwybodus, mai tra chywir o ran sylwedd yw y cyfieithiad Cymreig o'r Bibl; eto ymddengys i mi y cynwys lawer a ellir eu gwellhau, yn enwedig yn y rhanau prydyddol, megys Job, y Salmau, a'r Prophwydi. Go rydd, ie a rhy helaeth yw yr ymadrodd. Dylai fod yn fyrach a chynwysach: mae eisieu ei dalfyru, a gosod y geiriau mewn trefn wahanol, fel y

cadwer y rhediad prydyddol, ac y gosoder allan y synwyr yn fwy cryno, ac felly yn fwy grymuslawn. Gellid, tybygwyf, gwneuthur hyn heb ei dywyllu; ond, i'r gwrthwyneb, gosodid ef yn oleuach, gan ei ddangos yn fwy eglur. Dyma gynnelwad o Salm cii. 14:—

> "O blegyd y mae dy weision yn hoffi ei meini,
> Ac yn tosturio wrth ei llwch hi."

Pa faint gwell, byrach, a thaclusach, fel hyn, yn ol trefn y geiriau yn yr Hebraeg?

> "O blegyd hoffa dy weision ei meini,
> Ac wrth ei llwch y tosturiant."

Trwy y Bibl yn gyffredin, canfyddwyf ddau beth arbenig, tra niweidiol i ansawdd a chadernyd yr iaith, a ellid yn hawdd eu diwygio; sef, yr arferiad parhaus o'r parwyddiaid cynorthwyol mewn cysylltiad â'r prif barwyddiaid, er dynodi rhif, personau, ac amserau y cyfryw, yn lle defnyddio y terfyniadau rheolaidd a phriodol i'r anghenrheidiau hyny; megys, *gwnaf adrodd*, *gwnawn ddangos*, *gwnant ymborthi*, *gwneir amlygu*, &c., yn lle *adroddaf*, *dangoswn*, *ymborthant*, *amlygir*, &c.: hefyd yr arfer o ddefnyddio y rhagenwau yn ormodol ac yn afreidiol. O barth amser cynddrychiol parwyddiaid, y mae y Gymraeg yn cyfateb yn hollol i'r Hebraeg: arfera y ddwy yr amser dyfodol yn ei le. Talfyra hyn yr ymadrodd yn fawr yn y Gymraeg, heb wneuthur un terfysg, na pheri un tywyllwch yn y synwyr, ond yn hytrach ei drosglwyddo yn fwy goleu ac yn gadarnach. Cymerer y cynnelwad canlynol o Diar. i. 20:

> "Doethineb sydd yn gwaeddi oddi allan;
> Y mae hi yn adrodd ei lleferydd yn yr heolydd."

Ai nid rhagorach o lawer fyddai yr adnod fel hyn, ac air yn ngair o'r Hebraeg, yr amser dyfodol yn dynodi amser cynddrychiol?

"Doethineb a waedda oddi allan;
Yn yr heolydd yr edrydd ei lleferydd."

Am y rhagenwau, defnyddir hwynt yn ormodol mewn dwy sefyllfa; sef, o flaen parwyddiaid, ac yn ddyblyg gyd ag enwau cedyrn. Nid oes yn ein hiaith ni ond ychydig iawn o anghen rhagenwau o flaen parwyddiaid, gan y cynwysant y dynsawd yn eu terfyniadau, yn gyffelyb i'r Lladin, Groeg, a'r Hebraeg. Y mae rhyw wastraff neillduol yn ein cyfieithiad presennol yn yr ystyr hwn. Pwy ddefnydd yw y rhagenw *hi* ddwywaith yn yr adnod a ganlyn y ddiweddaf a gyfeiriwyd ati?

"Y mae hi yn llefain yn mhrifleoedd y dyrfa, yn nrysau y pyrth;
Yn y ddinas y mae hi yn traethu ei hymadroddion."

Pa faint gwell fyddai cyfieithu yr adnod fel hyn?

"Yn mhrifleoedd y dyrfa y llef; yn nrysau y pyrth:
Yn y ddinas, ei hymadroddion a draetha."

Gosodir y rhagenw, yn ein hiaith ni, o flaen yr enw cadarn; a phan fyddo pwys neillduol arno, gosodir un hefyd ar ei ol; megys, *ei eiriau ef*, pan feddylir am eiriau rhywun penodol. Heblaw hyn, nid oes achos ei ddefnyddio yn ddyblyg: arferiad diles a disynwyr yw. Canfyddwn y bai hwn bron yn mhob adnod: ac nid llawer anamlach ydynt y beiau ereill.

Llesiol, yn ddianmheu, fyddai diwygiadau o'r fath hyn. Byddai yn hawddach darllain yn ddealladwy, gan y byddai yn hawddach rhoddi y lleisbwys yn ei le priodol. Hefyd cynwysid y Bibl mewn llai cylch, a hyny nid o ychydig: byddai y cyfieithiad yr un ag ydyw yn awr; ond byddai yr iaith yn rhagorach, mewn trefn daclusach, a mwy grymuslawn.

Bai anafus arall yw rhoddi *cymhariaeth ddyblyg* i'r enw gwan; megys, *mwy haws, mwy parotach*, &c. Gwelir hwn, weithiau, hyd y nod yn ngweithiau awdur-

on da; ac am hyny, dylid rhoddi llai fyth o nawdd iddo, o herwydd tueddrwydd ieithwyr ieuainc i ganlyn brisg eu traed.

Arfer arall, niweidiol i burdeb a thelediwrwydd iaith, yw cwtogi, cyfnewid, a thalfyru geiriau yn ormodd; megys, *d'we'yd, t'w'llwch, erio'd, gwaetha'*, &c., yn lle *dywedyd, tywyllwch, erioed, gwaethaf*, &c. Y mae llygredigaethau cyffelyb i hyn wedi parhau cyhyd, nes gwyro ac anurddo perffeithrwydd cysefin yr iaith, mewn mesur mawr, yn ei llefariad; a meibion yr awen ydynt, yn benaf, yn gyfrifol am y cyfryw gyfeiliornadau, y rhai a'u harferant yn eu cathlau i achub y mydr neu y brif-odl; o herwydd nid oes achos yn y byd wrthynt mewn rhyddiaith; ond y maent yn hynod gyfleus i'r diog, y diddysg, a'r diddychymyg, yn eu cynygiadau prydyddol. Y mae y nod talfyriadol a arferir yn dangos fod rhyw ddiffyg yn bod yn y lle yr arferir ef: paham na ddylai fod yn gyflawn? Ysgatfydd yr atebir, mai er *llyfnhau* yr iaith yr arferir ef. Ond gadawer i bob Cymro diragfarn farnu a ydynt y fath ymadroddion a hyn yn anllyfn neu arw, drwy adael y sillgoll allan. Y mae goleuni newydd yn tori allan yn mhob oes o'r byd, a diwygiadau helaeth yn cael eu gwneuthur mewn agos bob math o beth, yn ieithoedd, celfyddydau, a gwybodau; ac onid yw yn llawn bryd i loywi y Gymraeg, bellach, drwy ei hamddiffyn rhag gosgordd adfail a welir yn nglyn â'r cyffelyb anmhuredd.

Gwall arall a welir yn fynych, yn enwedig mewn prydyddiaeth, yw arfer terfyniad dyblyg ac afreolaidd iawn i'r enw gwan; megys, *serchusol, iachusol, hoffus, pereiddiol, siriolus, dedwyddol*, &c. Beth a ddywedid am gyfansoddiad Seisonig a gynwysai y fath eiriau a hyn, *lovelious, healthious, happious, generalous?* &c. Beth, ond ei sarnu dan draed, ac ymwrthod âg ef yn

hollol. Er hyny, rhaid addef fod arferiad, yn yr enghraifft hon, wedi dwyn y bêl yn anadferadwy oddiar briodoldeb.

Y moddion goreu er cynydd a chadwedigaeth y Gymraeg, yw darllain y Bibl Cymreig; o herwydd yn ddilys, er y gellir nodi llawer o anmherffeithrwydd ynddo, nid oes gwell Cymraeg mewn un llyfr a feddwn nag yn y llyfr gwerthfawr hwnw. Geiriadur Ysgrythyrol y diweddar Mr. CHARLES, sy ragorol er cael geiriau addas i osod allan wahanol ysgogiadau ein meddyliau, a hyny yn eu hystyr mwyaf naturiol ac eglur. Y Bardd Cwsg a olygir yn cynwys iaith rwydd, eglur, a blodeuog. Drych y Prif Oesoedd a gynwys iaith redegog ac eglur. Diffyniad Ffydd Eglwys Loegr o waith yr Esgob JEWELL, cyfieithiedig gan MORUS KYFFIN, sy ragorol fel cynllun o brydferthwch yr iaith. Holl waith y Dr. W. O. PUGHE, a gynwys fyrder ymadrodd, perffeithrwydd llythyregol yn ei holl ranau, megys treigliad y parwyddiaid, cadwraeth y moddau, yn nghyda digonedd o eiriau at bob galwad, a llawer o ddiwygiadau llesiol. Cyfieithu ac argraffu llyfrau buddiol ar grefydd a chelfyddydau, a fyddent gyda y moddion goreu at y dyben mawr mewn golwg; a bydded i holl Gymdeithasau ac Eisteddfodau Cymru i gyd-ymegnio dros gefnogi y cyfryw gynygiadau, ac i wyliaw na chefnogont gyhoeddiadau gwaelion o sylwedd, a llygredig o iaith.

Gan fod ein hiaith wedi gorfyw y llifeiriant gorwylltaf, y tymhestloedd aruthrolaf, a'r elyniaeth greulonaf, nid oes bellach berygl am ei pharhad: ond os colledwyd hi yn ei thrwsiad, os yspeiliwyd hi o ran ei chyfoeth, ac os anharddwyd hi o ran ei morwynig wedd, drwy ryferthwyon o bob natur, pa ryfeddod yw? Ymwrolwn, gan hyny, yn fwy o'i plaid; adferwn iddi ei gwisgoedd a'i chyfoeth; a throsglwyddwn hi yn bur i'r oes a ddel.

## PENNOD X.—*Am Reithioreg.*

Rheithioreg yw y gelfyddyd o lefaru neu ysgrifenu yn gymhwys a dyladwy ar unrhyw destyn, ac hefyd gyda harddwch, ysbrydolder, ac ardderchogrwydd, er mwyn athrawiaethu, cynghori, a boddhau, yn rhinweddol ac ewybrgoeth.

O herwydd fod iaith droellog yn cael ei defnyddio mewn bron bob ymadrodd, a phan ei hiawn-arferer yn cyfranu prydferthwch a grym i'r cyfansoddiad, ymddengys fod peth gwybodaeth am dani yn anhebgorol i rai a ddysgant ffurfio eu hymadroddion yn eglur a nerthol; gan hyny rhoddir cyfrif yma o'r prif droellau, yn nghyda pheth eglurhad arnynt.

Yn gyffredinol, troellau ymadrodd a gynwysant ryw ymadawiad oddiwrth symlrwydd dywediad; traethir y meddylddrych a fwriadwn ei drosglwyddo mewn dull neillduol, a chyda rhyw amgylchiad ychwanegol, yr hwn a amcenir i wneuthur argraffiad mwy cryf a bywiog. Er cynllun: pan ddywedwyf, *Y mae gwr da yn mwynhau cysur yn nghanol adfyd,* yr wyf yn datgan fy meddyliau yn y dull symlaf; ond pan ddywedwyf, *I'r uniawn y cyfyd goleuni mewn tywyllwch,* traethir yr un syniad mewn iaith droellog; amgylchiad newydd a arweinir i mewn, *goleuni* yn cael ei osod yn lle *cysur,* a *thywyllwch* a arferir i ddarlunio y drych ffurfiedig yn y meddwl am *adfyd.* Felly dywedyd, *Annichonadwy yw, drwy unrhyw chwiliad a allwn wneuthur, i gael allan y Duwdod yn gyflawn,* sy gyflead o osodedigaeth syml; ond pan ddywedwn, *A elli di wrth chwilio gael gafael ar Dduw? a elli di gael yr Hollalluog hyd berffeithrwydd? Cyfuwch â'r nefoedd ydyw, beth a wnei di? Dyfnach nag uffern yw, beth a elli di wybod?* dyg hyn droell i mewn i'r iaith; gan fod nid yn unig y

gosodedigaeth yn cael ei fynegu, ond hefyd gyd ag ef syndod a rhyfeddod.

Eithr er y cynwys troellau ŵyrad oddiwrth yr hyn a gyfrifwn y dull symlaf o ymadrodd, nid ydym i gasglu oddiwrth hyny y cynwysant unrhyw beth annghyffredin neu annaturiol. Ar lawer achlysur, hwy ydynt y drefn fwyaf naturiol a chyffredin o draethu ein syniadau. Byddai yn dra anhawdd cyfansoddi ymddyddan heb eu harfer yn fynych; ïe, nid oes ond ychydig ymadroddion hirion, heb fod rhywbeth a ellir ei alw yn droell yn dygwydd ynddynt. Gan hyny, gwelwn yr anghenrheidrwydd o beth ystyriaeth, i'r dyben o ddeall eu natur a'u defnyddioldeb.

Ar gychwyniad cyntaf iaith, dechreuai dynion roddi enwau i'r amrywiol wrthddrychau a ganfyddent neu a feddylient am danynt. Yr oedd y casgliad o eiriau y pryd hwnw yn fychan iawn. Fel y lluosogai amgyffrediadau dynion, ac yr ychwanegai eu cydnabyddiaeth â gwrthddrychau, eu casgliad o enwau a geiriau a luosogai hefyd. Eithr i'r amrywiaeth aneirif o wrthddrychau a syniadau, nid oes un iaith yn gyfartal. Ceisiodd dynion yn naturiol gwtogi y llafur o luosogi geiriau yn ddiddiwedd; ac, i'r dyben i osod llai baich ar eu cof, gwnaethant i un gair, yr hwn a briodolasent eisoes i ryw dyb feddyliol neu wrthddrych neillduol, sefyll hefyd am ryw dyb neu wrthddrych arall, rhwng pa rai y cawsent neu y dychymygasent fod rhyw berthynas. Enwau gwrthddrychau teimladwy oeddynt y geiriau a arweiniwyd i mewn gyntaf; ac, o radd i radd, helaethwyd hwynt at y gwrthddrychau meddyliol hyny y rhai ni feddai dynion ond amgyffredion tywyllach am danynt, ac i ba rai yr oedd yn anhawddach iddynt roddi enwau gwahanredol. Benthyciasant, gan hyny, enw rhyw feddylddrych teimladwy, lle y canfu eu dychymyg

fod rhyw gyd-berthynas rhyngddynt. Felly soniwn am farn *dreiddgar* a phen *goleu*, calon *dyner* neu *galed*, ymddygiad *llym* neu *fwyn*; dywedwn am un wedi *enyn* gan ddigofaint, wedi *gwresogi* gan gariad, wedi *ymchwyddo* gan falchder, wedi *toddi* gan ofid: a dyma bron yr unig eiriau grymus a feddwn i fynegu y cyfryw amgyffredion.

Prif fanteision troellau ymadrodd ydynt y canlynol: yn gyntaf, y maent yn cyfoethogi ac yn helaethu iaith. Trwyddynt hwy lluosogir geiriau ac ymadroddion, er gosod allan bob math o feddyliau, er darlunio hyd y nod y gwahaniaeth lleiaf, godremiadau manylaf ac eilliwiau y meddwl, yr hyn ni fuasai alluadwy i unrhyw iaith wneuthur drwy eiriau priodol yn unig, heb gymhorth troellau. Yn ail, rhoddant yn fynych i ni olygiad llawer mwy eglur a nodedig ar y prif wrthddrych, nag a allem gael pe gosodid ef allan mewn geiriau syml, ac y diosgid ef o'i feddylddrych cyfranogol Trwy droell, wedi ei dewis yn iawn, hyd y nod cynorthwyir argyhoeddiad, a gwna y gwirionedd argraff mwy bywiog a grymus ar y meddwl, nag mewn modd amgen. Canfyddwn hyn drwy yr eglurhad canlynol: *Pan y suddwn yn rhy ddwfn mewn digrifwch, yr ydym yn cyffroi gwaddod a'i gwna yn anmhur a niweidiol:* ac yn yr enghraifft hon, *Calon yn berwi gan nwydau angerddol, a enfyn i fynu yn wastad agerdd syfrdanus i'r pen.* Y mae cyffelybiaeth a ddengys gymaint o gysondeb rhwng meddylddrych moesol a theimladwy, yn gwasanaethu, fel rheswm a ddygir oddiwrth gyfatebiad y naill beth i'r llall, i gadarnhau yr hyn a haera yr awdwr, ac i annog crediniaeth.

Gwedi ystyried natur gyffredinol troellau, awn yn mlaen i sylwi yn neillduol ar y rhai mwyaf pwysig o honynt, sef y canlynol:—

### 1. *Am Drawsddwyn.*

Trawsddwyn sy ddull ymadrodd sylfaenedig yn hollol ar y cyfatebiad a ddyg y naill wrthddrych i'r llall: oddiwrth hyn y mae yn garennydd agos i gyffelybiaeth neu gymhariaeth; ac yn wir nid yw amgen na chyffelybiaeth wedi ei gosod allan yn gryno. Pan ddywedaf am ryw weinidog mawr, *Y mae efe yn cynal y wladwriaeth fel y golofn a gynal bwys yr holl adeilad,* yr wyf yn amlwg yn gwneud cymhariaeth; ond pan ddywedaf am y cyfryw weinidog, *Efe yw colofn y wladwriaeth,* try yn awr yn drawsddwyn. Yn yr achos diweddaf, gwneir y gymhariaeth rhwng y gweinidog a'r golofn yn y meddwl, eithr y mae yn cael ei fynegu heb eiriau a ddynodant gymhariaeth.

Y canlynol ydynt gynlluniau o drawsddwyn wedi eu cymeryd o'r Ysgrythyr:—Myfi a fyddaf iddi hi yn *fur o dân* o amgylch, ac yn ogoniant yn ei chanol. Ti yw fy *nghraig* a'm *hamddiffynfa. Llusern* yw dy air i'm traed, a *llewyrch* i'm llwybr. Diosgaist fy *sach-wisg.* Pob cnawd sydd *wellt. Gwisgwch* am danoch yr Arglwydd Iesu. Myfi yw *drws* y defaid.

Rheolau i'w cadw wrth arfer trawsddwyn.

1. Ni ddylid dwyn i mewn drawsddwyn, mwy na throellau ereill, ar un achlysur, yn rhy fynych; a dylai fod yn wastad yn gyfryw ag a gydweddo â rhediad ein syniadau.

2. Dylid gofalu fod y gyffelybiaeth, yr hon yw sylfaen y drawsddwyn, yn eglur a goleu; nid wedi ei chyrchu o bell, nac yn anhawdd i'w chanfod. Troseddiad o'r rheol hon a effeithia yr hyn a elwir trawsddwyn afrywiog neu gymhelliedig, yr hon sydd anfoddhaol, o herwydd ei bod yn rhwystrus i'r darllenydd, ac yn lle amlygu y meddwl, yn ei wneuthur yn ddyrus a thywyll.

3. Dylem fod yn ofalus, wrth arwain trawsddwyn yn mlaen, i beidio cymysgu iaith draws-symudol ac eglur yn nghyd.

4. Dylem ochelyd rhag i ddwy drawsddwyn annghysson gyfarfod ar yr un pwnc. Hyn a elwir trawsddwyn gymysgedig, ac y mae yn un o'r cam-gymhwysiadau mwyaf o'r droell hon. Gall un fod yn *ymgysgodi* dan nawdd gwr mawr: ond nid iawn a fyddai dywedyd, *Ymgysgodi* dan fiswrn rhagrith; am fod miswrn yn cuddio, ac nid yn cysgodi. Megys na ddylid byth gymysgu trawsddwyn, felly ni ddylid pentyru lluaws o honynt yn nghyd ar yr un gwrthddrych; o herwydd teimla y meddwl anhawsder i fyned yn rhwydd drwy amryw olygiadau gwahanol ar yr un gwrthddrych yn cael eu cyflwyno mewn canlyniad didor.

5. Y rheol ddiweddaf mewn perthynas i drawsddwyn, yw peidio ei chanlyn yn rhy bell. Os cadwir at y gyffelybiaeth y sylfaenwyd y droell arni yn hir, a'i dwyn i'w holl fân amgylchiadau, blinir y darllenydd, yr hwn a ddiflasa yn fuan ar y dirdyniad hwn o'r dychymyg; a ni a wnawn ein hymadroddion yn aneglur. Gelwir hyn, gorestyn trawsddwyn. Awdwyr o grebwyll bywiog a chryf, ydynt dueddol i redeg i'r gormodedd hwn o drawsddwyn. Pan y tarawant wrth droell a'u boddia, y mae yn anhawdd ganddynt ymadael â hi, ac yn fynych hwy a'i canlynant mor bell fel y terfyna yn annyben a dyryslyd.

## 2. *Am Aralleg.*

Gellir golygu aralleg fel trawsddwyn barhaol, gan mai darluniad ydyw o ryw un peth drwy arall yn tebygoli iddo, yr hwn a osodir i sefyll yn ei le. Ceir cynllun rhagorol iawn o aralleg yn y 80 Salm, lle y dangosir pobl Israel dan gyffelybiaeth gwinwydden, ac y mae y

dull hwn o ymadrodd yn cael ei arwain yn mlaen yno gyda manylrwydd a phrydferthwch mawr:—*Mudaist winwydden o'r Aipht: bwriaist y cenedloedd allan, a phlenaist hi. Arloesaist o'i blaen, a pheraist i'w gwraidd wreiddio, a hi a lanwodd y tir. Cuddiwyd y mynyddoedd gan ei chysgod; a'i changenau oedd fel cedrwydd rhagorol. Hi a estynodd ei changau hyd y môr, a'i blagur hyd yr afon. Paham y rhwygaist ei chaeau, fel y tyno pawb a elo heibio ar hyd y ffordd ei grawn hi? Y baedd o'r coed a'i turia, a bwystfil y maes a'i pawr. O Dduw y lluoedd, dychwel, atolwg: edrych o'r nefoedd, a chenfydd, ac ymwêl â'r winwydden hon.* Gwel hefyd Ezeciel xvii. 22—24.

Y prif beth gofynol yn nghyfansoddiad aralleg yw, peidio cymysgu y meddwl traws-symudol a llythyrenol â'u gilydd yn annghyson. Yn wir, gellir cymhwyso yr holl reolau a roddwyd am drawsddwyn at aralleg hefyd, o achos y berthynas agos a ddygant i'w gilydd. Yr unig wahaniaeth pwysig rhyngddynt, heblaw fod y naill yn fer a'r llall yn hir, yw, fod y drawsddwyn bob amser yn egluro ei hun, drwy y geiriau cysylltiedig â hi, yn eu hystyr priodol a naturiol: megys pan ddywedwyf, *Llew oedd Picton; Gweinidog synwyrol yw colofn y wladwriaeth;* y mae y *llew* a'r *golofn* yn derbyn deongliad digonol drwy grybwyll am *Picton* a'r *gweinidog*, y rhai a gysylltwyf â hwynt: ond caniateir i aralleg sefyll yn llai cysylltiedig â'r ystyr llythyrenol, gan nad ydyw y deongliad yn cael ei nodi mor union-gyrchiol, eithr ei adael i ni i wneuthur ein hadfyfyrdodau arno.

Aralleg ydoedd ddull dewisol o draddodi addysg yn yr hen amseroedd; o herwydd nid ydyw yr hyn a alwn ni yn ffug-chwedlau neu ddiarebion, amgen nag arallegau. Trwy y geiriau a'r gweithredoedd a briodolir i fwystfilod neu wrthddrychau difywyd, yr oedd tueddiad-

au dynion yn cael eu dangos; a'r hyn a elwir y *cymhwysiad,* ydyw ystyr eglur neu feddwl yr aralleg.

3. *Am Drawsenwad.*

Trawsenwad sydd yn sylfaenedig ar amrywiol berthynasau achos ac effaith, cynwysydd a chynwysedig, arwydd a'r peth a arwyddoceir, i'w gilydd. Pan ddywedir, yn Act. viii. 28, fod yr *Eunuch yn darllain y prophwyd Esaias,* rhoddir yr achos yn lle yr effaith, gan feddwl prophwydoliaeth Esaias. O'r tu arall, pan ddywedir, yn Salm lxxxv. 11, *Cyfiawnder a edrych i lawr o'r nefoedd,* y mae yr effaith yn cael ei ddodi yn lle yr achos, gan feddwl wrth gyfiawnder, yr Hollalluog, yn yr hwn y trigfana cyfiawnder. *Y mae y crochan yn berwi,* sydd ymadrodd yn yr hwn y rhoddir y cynwysydd am y peth cynwysedig. *Cymeryd y deyrnwialen,* sy ddywediad cyffredin am dderbyn awdurdod breninol, yr arwydd yn cael ei ddodi am y peth a arwyddoceir.

4. *Am Gyforddwyn.*

Pan ddodir y cyfan am ran, neu ran am y cyfan; cenedl am rywiogaeth, neu rywiogaeth am genedl; yn gyffredin, pan roddir unrhyw beth llai, neu unrhyw beth mwy, am y gwrthddrych penodol a feddylir; gelwir y dull hwnw o ymadrodd *cyforddwyn* neu *orymddwyn.* Y mae yn beth cyffredin iawn, er enghraifft, i ddarlunio gwrthddrych cyfangwbl drwy ryw ran nodededig o hono; megys, pan ddywedir, yn Act. xviii. 12, *Cyfododd yr Iuddewon yn unfryd yn erbyn Paul;* hyny yw, rhan fawr o honynt, nid yr holl genedl. Pan arferir yr hanfod cyfan am ran; megys, Gen. xxv. 10, *Yno y claddwyd Abraham a Sarah ei wraig;* hyny yw, *cyrph* Abraham a Sarah. Mewn modd cyffelyb, gellir rhoddi rhyw briodoledd am y gwrthddrych ei hun; megys, *Yr*

*ieuenctyd*, am *yr ieuainc ; y dyfnder*, am *y môr ;* ac weithiau, y gwrthddrych am ei briodoledd.

### 5. *Am Watwariaith.*

Gwatwariaith yw dywedyd yn y gwrthwyneb i'n meddyliau, nid â bwriad i dwyllo, ond i ychwanegu grym i'n sylwadau. Gellir ceryddu dynion am eu hesgeulusdra, drwy ddywedyd, *Chwi a gymerasoch ofal mawr yn ddiau.* Cynghoriad gwatwarol sy ddull hyfryd iawn o ymadroddi; yr hwn, wedi gosod annghyfleusderau rhyw beth yn y goleuni amlycaf, a derfyna âg annogaeth ffuantus i'w ddylyn; megys, Barn. x. 14, *Ewch a llefwch at y duwiau a ddewisasoch : gwaredant hwy chwi yn amser eich cyfyngdra.* Testynau gwatwariaith ydynt feiau a ffolinebau o bob math : ac y mae y ffordd hon o'u dangos hwynt, yn fynych, yn fwy effeithiol nag ymresymiad difrifol. Nid yw y dynion mwyaf dwys wedi gochelyd arfer y droell hon, ar achlysuron priodol. Y gwr doeth a rhinweddol hwnw, Socrates, a wnai ddefnydd mawr o honi, yn ei ymegniadau i annghefnogi arferion beius ac ynfyd. Hyd y nod yn yr ysgrythyrau santaidd, cawn enghreifftiau neillduol o honi. Y prophwyd Elias, wrth herio offeiriaid Baal i brofi gwirionedd eu duw, a ddywedodd, *Gwaeddwch â llef uchel : canys duw yw efe : naill ai ymddyddan y mae, neu erlid, neu ymdeithio y mae efe ; fe a allai ei fod yn cysgu, ac mai rhaid ei ddeffro ef.*

### 6. *Am Ormoddiaith.*

Y droell nesaf am ba un yr ydym i draethu, a elwir *gormoddiaith* neu *fwyhad.* Y mae yn gynwysedig mewn mawrhau gwrthddrych tu hwnt i'w derfynau naturiol. Mewn pob iaith, ac hyd y nod mewn ymddyddan cyffredin, y mae ymadroddion dros ben y gwirionedd

yn dygwydd yn fynych; megys, *cynt na'r gwynt, gwyn-ach na'r eira,* &c.: a'r ffurfiau cyffredin o anerchiad ydynt oll bron yn fath o ormoddiaith tu hwnt i bob galluogrwydd i fod felly. Os bydd unrhyw beth yn hynod dda neu fawr yn ei rywiogaeth, yr ydym yn ddi-atreg yn barod i ychwanegu ato ryw air helaethol, ac i'w wneuthur ef y mwyaf neu y goreu a welsom erioed. Y mae yn y dychymyg dueddiad bob amser i foddhau ei hun drwy fawrhau ei wrthddrych presennol, a'i ar-wain i ormodedd. Ffyna mwy neu lai o'r dull gor-moddol hwn mewn iaith, yn ol bywiogrwydd dychymyg y bobl a'i llefarant. O blegyd hyny y mae dynion ieu-ainc yn ymdrin llawer â gormoddiaith. O blegyd hyny yr oedd iaith y Dwyreinwyr yn myned lawer mwy dros ben y gwirionedd, nag eiddo preswylwyr Ewropa, y rhai ydynt yn fwy swrth, neu hwyrach y gallwn ddy-wedyd, yn fwy cywir eu dychymyg. Felly, yn mhlith pawb ysgrifenwyr mewn amseroedd boreuol, a phan oedd dynolryw yn drwsgl ac annghymhen, gallwn ddysgwyl cyfarfod â'r droell hon yn aml. Profiad hel-aethach, a chymdeithasau wedi mwynhau gwell meith-riniad, mewn oesoedd canlynol, a leihasant boethder y dychymyg, ac, fel pe b'ai, a geryddasant y dull cyntefig o'i fynegu.

Cawn gynllun o ormoddiaith yn 1 Bren. iv. 20: *Juda ac Israel oedd aml, fel y tywod sy gerllaw y môr o amldra.* Yr un modd hefyd y deallir Salm lxxviii. 27: *Gwlawiodd gig arnynt fel llwch, ac adar asgellog fel tywod y môr.*

### 7. *Am Gamarferiad.*

Camarferiad fydd, pan fenthycir gair o'i briodolder ei hunan i arwyddocad anmhriodol; a hyny, weithiau, a ddengys fwy o ryfeddod ac o ystyr, o herwydd hyfder

a newydd-beth; megys, Gen. xlviii. 4, *Rhoddaf y tir hwn i'th had di ar dy ol di, yn etifeddiaeth dragywyddol.* Y gair *tragywyddol*, yn ei briodolder ei hun, a arwyddocâ barhad annherfynol, ac a fenthycir yma i ddangos helaethder yr addewid o wlad Canaan i blant Israel. Yn ol y droell hon y dywedir, *Tori y dydd*, am *dyddhau; y glust yn yfed yr ymadrodd*, am *gwrando* yn gofus; *gwelodd ei gamsyniad*, am *deallodd* ei gamsyniad: wrth hyn adnabyddir amryw o'r fath; ond gocheler rhag arfer y gyffelybiaeth â phethau rhy annghymharol.

## 8. *Am Gyffelybiad.*

Cyffelybiad yw, pan fynegir y tebygolrwydd rhwng dau wrthddrych mewn dull, ac yn gyffredin a ddylynir yn gyflawnach nag y caniatâ natur trawsddwyn; megys, Salm cxxxiii., *Wele mor ddaionus ac mor hyfryd yw trigo o frodyr yn nghyd! Y mae fel yr enaint gwerthfawr ar y pen, yn disgyn ar hyd y farf, sef barf Aaron; yr hwn oedd yn disgyn ar hyd ymyl ei wisgoedd ef: fel gwlith Hermon, ac fel y gwlith yn disgyn ar fynyddoedd Sion.*

Buddioldeb y droell hon a ddeillia oddiwrth yr eglurhad a ddyry y gyffelybiaeth ddefnyddiedig i'r prif wrthddrych; oddiwrth y golygiad cyflawnach a gyflwyna, neu yr argraff ddwysach a wna ar y meddwl. Mewn cyffelybiadau o'r natur hon, y mae mwy o lawer yn perthyn i'r deall na'r dychymyg; ac am hyny y rheolau i'w cadw gyda golwg arnynt hwy, ydynt, eu bod yn eglur a defnyddiol; eu bod yn tueddu i wneuthur ein hamgyffrediad o'r prif wrthddrych yn fwy goleu; ac na byddont yn arwain ein golwg i'r neilldu, a'i ddyrysu â llewyrch twyllodrus. Dylem gofio, bob amser, nad rhesymau ydynt gyffelybiaethau. Pa mor briodol bynag

y byddant, ni wnant ychwaneg nag egluro syniadau yr ysgrifenydd; ni phrofant eu bod yn sylfaenedig ar wirionedd.

### 9. *Am Waeddolef.*

Gwaeddolef sydd effaith cynhyrfiad grymus yn y meddwl; megys, syndod, rhyfeddod, llawenydd, tristwch, a'r cyffelyb. Gwelir cynllun hynod o hyn yn Jer. ix. 1, 2: *O na b'ai fy mhen yn ddyfroedd, a'm llygaid yn ffynnon o ddagrau, fel yr wylwn ddydd a nos am laddedigion merch fy mhobl! O na byddai i mi yn yr anialwch lety fforddolion, fel y gadawn fy mhobl, ac yr elwn oddi wrthynt! canys hwynt oll ydynt odinebus, a chymanfa anffyddloniaid!*

### 10. *Am Attaliaith.*

Attaliaith sy ddull, drwy yr hwn, gan ddigllonedd neu ryw gythrybliad arall yn y meddwl, ni ddywedir yn gyflawn yr hyn a fwriedir, ond torir ymaith yr ymadrodd yn ddisymwth, gan ddangos ar yr un pryd y peth a feddylir yn mhellach; megys, Hosea iv. 17, *Ephraim a ymgysylltodd âg eulunod: gad iddo.*

### 11. *Am Wrthdroad.*

Gwrthdroad sy ddull o ymadrodd, pan droir oddia rediad rheolaidd y testyn, i anerch rhyw berson ne beth; megys, 1 Cor. xv. 54, 55, *Angau a lyncwy mewn buddugoliaeth. O angau, pa le mae dy golyn O uffern, pa le mae dy fuddugoliaeth?* Y canlyn sydd enghraifft o ddynsodiad a gwrthdroad yn gyfu edig: *O gleddyf yr Arglwydd, pa hyd ni lonyddi? chwel i'th wain, gorphwys a bydd ddistaw. Pa fod llonydda efe, gan i'r Arglwydd ei orchymyn ef yn er Ascelon, ac yn erbyn glan y môr? yno y gosodod*

Jer. xlvii. 6, 7. Gwel hefyd gynllun hynod o'r troellau hyn yn Esaias xvii. 4—19.

12. *Am Ohiriad.*

Gohiriad yw canlyniad o ymadrodd dechreuedig yn y fath fodd ag y boddheir y darllenydd ar ei hyd, gan ei gadw mewn dysgwyliad o rywbeth nodedig yn y diwedd; megys, Rhuf. viii. 38, 39, *Mae yn ddiogel genyf nas gall nac angau nac einioes, nac angylion, na phethau presennol, na phethau i ddyfod, nac uchder, na dyfnder, nac un creadur arall, ein gwahanu ni oddiwrth gariad Duw, yr hwn sydd yn Nghrist Iesu ein Harglwydd.*

13. *Am Ofyniaith.*

Meddwl eglur a llythyrenol gofyniaith, yw cynyg holiad: ond pan fydd dynion wedi eu cyffroi yn rymus, pa beth bynag a fynent haeru neu wadu gyda difrifwch mawr, hwy yn naturiol a'i dodant ar ddull holiad, gan fynegu drwy hyny yr ymddiried cadarnaf yn ngwirionedd eu syniadau eu hunain, a chyrchu at eu gwrandawwyr am eu barn mewn perthynas i analluoldeb y gwrthwyneb. Yn ol y dull hwn y dywedodd Balaam wrth Balac, Num. xxiii. 19, *Nid dyn yw Duw, i ddywedyd celwydd; na mab dyn, i edifarhau: a ddywedodd efe, ac nis cyflawna? a lefarodd efe, ac oni chywira?*

14. *Am Ad-ddywediad.*

Ad-ddywediad a fydd, pan ail-adroddir, naill ai yr un geiriau drachefn, neu yr un synwyr mewn geiriau ereill, a hyny yn addas a phwysig; megys, Salm xxix. 4, *Llef yr Arglwydd sy mewn grym: llef yr Arglwydd sy mewn prydferthwch.* Yr un synwyr mewn gwahanol eiriau; megys, Job xxxii. 15, *Hwy a synasant, nid atebasant mwy, peidiasant a llefaru.*

### 15. *Am Gyferbyniad.*

Cyffelybiad sydd yn sylfaenedig ar debygoliaeth, ond cyferbyniad ar annghymhariaeth neu wrthwynebiad dau wrthddrych i'w gilydd. Y mae cyferbyniad yn effeithiol bob amser i beri i'r naill a'r llall o'r gwrthddrychau cyferbyniol ymddangos mewn goleuni amlycach. *Gwyn*, er enghraifft, nid ymddengys un amser mor ddysglaer a phan fyddo yn wrthwynebol i *ddu*, a phan fwrir golwg ar y ddau yn nghyd. Cymerer y cynllun canlynol o'r Ysgrythyr: *Anweddaidd yw i ffol ymadrodd rhagorol; mwy o lawer i bendefig wefusau celwyddog.* Diar. xvii. 7. Gwel hefyd 2 Cor. vi. 8—10.

### 16. *Am Gylchymadrodd.*

Cylchymadrodd yw amlygu un gair â llawer, a hyny er harddu, sicrhau, neu estyn yr ymadrodd; megys pan ddywedir, *Tad y ffyddloniaid*, am *Abraham; Duw y byd hwn*, am y *Diafol; dwyn tystiolaeth*, am *tystiolaethu*, &c.: neu pan fyddo enw yn cael ei guddio, ac arfer geiriau ereill i'w arwyddocau; megys y dywedwyd am Lazarus wrth yr Iesu, *Wele, y mae yr hwn sydd hoff genyt ti yn glaf.* Hefyd pan ddywedir geiriau ereill amgylchedig dros ymadrodd anweddaidd.

### 17. *Am Raddeb.*

Graddeb sy gynwysedig mewn dyrchafu holl amgylchiadau gwrthddrych neu weithred, yr hon a fynem osod mewn goleuni amlycach; megys, 2 Pedr i. 5—7, *Chwanegwch at eich ffydd, rinwedd; ac at rinwedd, wybodaeth; ac at wybodaeth, gymedrolder; ac at gymedrolder, amynedd; ac at amynedd, dduwioldeb; ac at dduwioldeb, garedigrwydd brawdol; ac at garedigrwydd brawdol, gariad.*

### 18. *Am Oddefiad.*

Goddefiad sy ddull ymadrodd drwy ba un y mae y gofynydd yn caniatau, neu yn addef, fod yr hyn a ddywedir yn ei erbyn yn wir, a thrwy hyny yn cael gwell gwrandawiad, ac yn ennill ewyllys da y rhoddwr yn fwy. Cynllun hynod o hyn a geir yn atebiad y wraig o Ganaan i Grist, pan ddywedodd efe wrthi, *Nid cymhwys yw cymeryd bara y plant a'i daflu i'r cenawon cwn. Hithau a atebodd ac a ddywedodd wrtho, Gwir, O Arglwydd: ac eto y mae y cenawon dan y bwrdd yn bwyta o friwsion y plant.* Marc vii. 27, 28.

### 19. *Am Ddynsodiad.*

Dynsodiad a fydd, pan ddywedir fod yn llefaru y neb nid yw, neu pan ddynweddir yn ddychymygol bethau difywyd, gan olygu peth mud yn dafodiog; megys, Job xxviii. 12, 14, 22, *Pa le y ceir doethineb? Y mae y dyfnder yn dywedyd, Nid yw hi ynof fi: ac y mae y môr yn dywedyd, Nid yw hi gyda myfi. Colledigaeth a marwolaeth sydd yn dywedyd, Ni a glywsom â'n clustiau son am dani hi.* Gwel hefyd Salm cxiv. 3, 4, *Y môr a welodd hyn, ac a giliodd; yr Iorddonen a drodd yn ol. Y mynyddoedd a neidiasant fel hyrddod, a'r bryniau fel ŵyn defaid.*

### 20. *Am Ragflaeniad.*

Rhagflaeniad yw, pan gyfodo yr awdwr wrthddadl yn ei ymadrodd, pa un a ragwel efe a allai fod yn erbyn yr hyn a sicrheir, a ddeisyfir, neu a gymeradwyir ganddo, gan ateb y cyfryw ei hun; megys, Mat. iii. 9, *Na feddyliwch ddywedyd ynoch eich hunain, Y mae genym ni Abraham yn dad i ni: canys fe ddichon Duw, ïe, o'r meini hyn gyfodi plant i Abraham.*

21. *Am Fyrieithiad.*

Byrieithiad sy ddull cryno cynwysfawr o ymadroddi, yr hyn a fydd pan ddywedir llawer mewn ychydig eiriau; megys, *Anmharod pob anallu. Hen bechod a wna gywilydd newydd. Nid oes gŵyl rhag elusen. Meddwl dyn Duw a'i terfyn.* Y fath yn gyffredin ydynt holl Ddiarebion Solomon.

22. *Am Ddiweddlef.*

Diweddlef sy ddull ymadrodd bywiog a ffraethlym yn niwedd unrhyw draethawd, neu adfyfyrdod cyflym ar yr hyn a grybwyllwyd o'r blaen; megys, Rhuf. xi. 33, *O ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! mor anchwiliadwy yw ei farnau ef! a'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt!*

Er fod gwahanol droellau yn eglurhau ac yn addurno amrywiol gynhyrfiadau y meddwl, eto nid mewn ehediadau rhy uchel, a chyffelybiaethau dros weddusder, y mae harddwch penaf pob ymadrodd yn sefyll; o herwydd yn y geiriau mwyaf syml ac eglur, weithiau, y dangosir y meddwl gadarnaf.

Dealled y darllenydd fod enwau, rhywiau, a rhifedi y dulliau o ymadroddi, mewn areithyddiaeth ac ysgrifenyddiaeth, yn dra lluosog, a braidd yn ddiderfyn; eto, y rhai a grybwyllwyd uchod a olygir fel y mwyaf pwysig o honynt, ac a gyflewyd yma er addysg i'r anwybodus o ddull a threfn troell-ymadrodd. Pwy bynag a chwennycho ragor o hysbysiaeth yn nghylch hyn, ymofyned â llyfryn a gyfenwir *Egluryn Ffraethineb*, yr hwn a ddechreuwyd gan Mr. WILIAM SALESBURY, a anghwanegwyd ac a orphenwyd gan Mr. HENRI PERRI, drwy draul Syr SION SALESBURY, o Leweni, yn swydd Dinbych, a dianmheu y boddlonir ef hyd eithaf ei ddysgwyliadau. Cynwysir ynddo gynlluniau priodol o bob troell, yn

nghyda chadernyd a phurdeb iaith na chyfarfyddir â hwynt ond lled anfynych yn nghyfansoddiadau mwyaf gorchestol ysgrifenwyr yr oes hon.

---

## Anerchedd i'r Grammadeg.

GROESAW, Rammadeg goreuswydd!——mae'n bro
Mewn brys—tyr'd yn ebrwydd :
Ië, coelîaf, cei wiwlwydd,
Yn ein gwlad, a rhediad rhwydd.

Grammadeg â grym odiaeth,——ei Awdwr
A edwyn ddysgeidiaeth :
Noder ar ei feirniadaeth,
A'i ddoniau ffrwm, wiwddyn ffraeth.

Darlith eres ar der Lythyraeth——[illegible]
Ac ar Acenyddiaeth ;
Goraddien drin Geiryddiaeth,
A Chystrawen geinwen, gwnaeth.

Syllodd i'r *hen ddull* o silliaw,——gwelodd
Mai gwael yw ei bleidiaw ;
Llythyraeth hell, ei tharaw
A wnaeth â'i droed i'w nhyth* draw!

[* *Gwel t. d.* 48.]

Un gywirlem drem i'w Draith——gwiw haeddawl,
Gyhudda'r anmherffaith :
Mesurydd, profydd prifwaith,
[illegible]air yw hwn er puro Iaith.

[illegible] gommedd Cymro, yn gymhen,——ddysgu
Ei ddwysgall Iaith burwen,
Hwnw ddylai, yn ddilen,
Gwyno byth, *mai gwan ei ben!*

*Aberystwyth.* DWNEDYDD.

---

*E. WILLIAMS, ARGRAFFYDD, ABERYSTWYTH.*